


# VIER ZWEIGE DES MABINOGI

## (PEDEIR CEINC Y MABINOGI)

MIT LESARTEN UND GLOSSAR

HERAUSGEGEBEN VON

LUDWIG MÜHLHAUSEN



HALLE (SAALE)
VERLAG VON MAX NIEMEYER
1925

# DIE VIER ZWEIGE DES MABINOGI



## (PEDEIR CEINC Y MABINOGI)

MIT LESARTEN UND GLOSSAR

HERAUSGEGEBEN VON

LUDWIG MÜHLHAUSEN




HALLE (SAALE)
VERLAG VON MAX NIEMEYER
1925

# Inhalt.

| | Seite |
|---|---|
| Vorwort | VII |
| Literaturangaben | IX |
| I. PWYLL | 1 |
| II. BRANWEN | 21 |
| III. MANAWYDDAN | 36 |
| IV. MATH UAB MATHONWY | 49 |
| Glossar | 69 |
| Verzeichnis der Eigennamen | 139 |
| Nachträge und Berichtigungeu | 144 |

# Vorwort.

Der Zweck der vorliegenden Ausgabe der Mabinogion ist der, dem Anfänger im Studium mittelcymrischer Quellen eine Gruppe untereinander zusammenhängender, inhaltlich wertvoller Prosatexte rein cymrischer Herkunft in geeigneter Form zu bieten. Unter diesem Gesichtspunkte will die Ausgabe bewertet werden. Unter „geeigneter Form" verstehe ich eine solche, die den mit den Anfangsgründen des Cymrischen einigermaßen Vertrauten instand setzt, die gebotenen Texte richtig zu übersetzen. Die zur Erreichung dieses Zweckes angewandten Mittel sind hauptsächlich folgende: eine nicht engherzig angewandte Interpunktion, die Angabe von Lesarten, soweit diese inhaltlich oder formal von Wert sind, vor allem aber ein Glossar mit Angabe aller in den Texten vorkommenden Formen, Bedeutungen und — bei nicht ganz alltäglichen Wörtern — Belegstellen. Abgesehen habe ich dagegen von der Beigabe kommentatorischer Anmerkungen, aus zwei Gründen: einmal, um den Umfang und damit den Preis des Buches nicht allzusehr zu steigern, besonders aber, weil sich über das in Loths Übersetzung in dieser Hinsicht Gegebene hinaus für den Anfänger wenigstens nicht viel Wesentliches beibringen ließe.

Die Schreibung des Originals ist im Text, abgesehen von der Einteilung in Abschnitte, der Worttrennung und der Beseitigung offenbarer Fehler des Schreibers, völlig gewahrt worden. Es hieße dem Anfänger einen schlechten Dienst erweisen, wollte man darüber hinaus normalisierend eingreifen; solche Dinge gehören in das Glossar und die Grammatik. Dem steht nicht entgegen, daß der Laut *w* durch e i n Zeichen

statt durch die im Original üblichen zwei wiedergegeben wird, nämlich durch *w*. Es ist nicht einzusehen, warum in einigen cymrischen Textausgaben zwar die beiden in den Mss. üblichen Zeichen für *w* verwendet werden, *r* und *s* dagegen, die ebenfalls zwei Formen in den Mss. aufweisen, stets durch je e i n Zeichen vertreten sind. — Stimmloses *l* ist durch *ll* wiedergegeben statt durch die im Original übliche Ligatur; hierfür sprachen typographische Rücksichten und die Tatsache, daß stimmhaftes geminiertes *l* (*l* + *l*) nur ganz vereinzelt vorkommt (vgl. *callon, calhon*), eine Verwechselung also nicht zu befürchten ist.

Die Wiedergabe der Stichwörter des Glossars folgt im allgemeinen der in Strachans Introduction befolgten Methode "to arrange the words according to their actual sounds" (vgl. S. XI). Die Abweichungen sind folgende: der Laut *ð* ist dargestellt durch *dd* (Text meist *d*, selten und besonders in WB. *t*; Strachan *ð*); stimmloses *r* durch *rh* (Text und Strachan *r* für stimmlosen und stimmhaften Laut); der epenthetische Vokal durch (*y*), (*w*) usw. (im Text meist *y* oder *w, o, a*; bei Strachan nicht gekennzeichnet); der Laut *i̯* in steigenden Diphthongen durch *i* (Text und Strachan *y*, seltener *i*); ist dies *i* im Glossar eingeklammert (*i*), so zeigt dies an, daß es auch fehlen kann (z. B. *meibon* : *meibyon*, *meibion* u. a.). Andere Hilfsmittel zur Andeutung der Aussprache bedürfen kaum einer besonderen Erklärung: *gwŷr* 'Männer' : *gŵyr* 'er weiß'; *nessäu* = *nessá-u*.

Von der Angabe von Etymologien habe ich aus räumlichen Gründen Abstand genommen und mich darauf beschränkt, bei Lehn- und Fremdwörtern den Ursprung a n z u d e u t e n.

Der Text selbst basiert auf dem Roten Buche (RB.); die Varianten sind dem Weißen Buche (WB.), alias Peniarth 4, entnommen und zwei Fragmenten in Peniarth 6 (P. 6); wo nichts anderes angegeben ist, handelt es sich um die Lesarten von WB.; Ergänzungen des RB.-Textes sind durch runde, Zusätze aus WB. durch eckige Klammern gekennzeichnet. + oder — im Variantenapparat bezeichnen ein Plus oder Minus des betr. Ms. Die Seitenzahlen der Ausgabe des RB. (Oxford 1887, s. u.) sind im Text angegeben, desgleichen die Kolumnen des WB. (Pwllheli 1907, s. u.); letztere durch einen Stern hinter der Zahl gekennzeichnet.



Zum Schluß ist es mir ein herzliches Bedürfnis, dem um die Förderung der keltischen Studien so hochverdienten Verlage zu danken für die freundliche Bereitwilligkeit, auch unter den heutigen schwierigen Umständen die Drucklegung des Werkchens zu übernehmen! Möchte es dazu beitragen, dem abseits der großen Heerstraßen liegenden Gebiete der keltischen Studien neue Freunde besonders unter Romanisten und Anglisten zu werben!

Hamburg, im Februar 1925.

**L. Mühlhausen.**



# Literaturangaben.

Die wichtigste Literatur zu den Mabinogion:

The Mabinogion from the Llyfr Coch o Hergest, and other ancient Welsh Mss; with an Engl. transl. and notes, by Charlotte Guest. 3 vols. in 7 parts. London & Llandovery 1838—1849. (Text und Übers. veraltet; die vier Mab. in vol. III.)

Alfred Nutt veröffentlichte zuerst 1902 einen Neudruck der Übers. der Lady Guest u. d. T.: The Mabinogion, mediaeval Welsh romances, transl. by Lady Charlotte Guest, with notes by Alfred Nutt, London 1902. (Mehrfach neu aufgelegt in der bekannten Everyman's Library ed. by Ernest Rhys, London, J. M. Dent & Sons.)

The Text of the Mabinogion and other Welsh tales from the Red Book of Hergest ed. by John Rhys and J. Gwenogvryn Evans. Oxford 1887. (Series of Welsh Texts. vol. I.) — Diplomatischer Abdruck des Ms. Die vier Mab. = S. 1—81.

The White Book Mabinogion. Welsh tales and romances reprod. from the Peniarth Mss. ed. by J. Gwenogvryn Evans. Pwllheli 1907. (Series of Welsh Texts. vol. VII.) — Diplomatischer Abdruck von Peniarth 4, dem eigentlichen WB. (die vier Mab. = col. 1—111), und Fragmenten anderer Mss., von denen für die vorliegende Ausgabe nur Peniarth 6 in Frage kommt; dieses enthält Fragmente von Branwen und von Manawyddan.

J. Loth: Les Mabinogion du Livre Rouge de Hergest avec les variantes du Livre Blanc de Rhydderch, trad. du gallois avec une introduction, un commentaire explicatif et des notes critiques. tome I. II. 2ème éd. Paris 1913.

(Das nach jeder Richtung umfassendste Werk. Die vier Mab. = vol. I. S. 81—210.)

Vgl. ferner:

E. Anwyl: The four branches of the Mabinogion in Zeitschr. f. celt. Phil. I, 276 ff.; II, 124 ff.; III, 123 ff. (Versuch der Feststellung der in den Mab. kombinierten Einzelerzählungen.)

Ivor B. John: The Mabinogion. London 1911. (Popular Studies in Mythology, Romance & Folklore Nr. 11.)



# I.

## PWYLL.

### Llyma dechreu Mabinogi.[1])

Pwyll penndeuic Dyuet a oed yn arglwyd ar seith cantref Dyuet. A threigylgweith yd oed yn Arberth, priflys idaw; a dyuot yn y uryt ac yn y vedwl uynet y hela. Sef kyfeir oe gyuoeth, a vynnei y hela: Glynn Cuch. Ac ef a gychwynnwys y nos honno o Arberth ac a doeth hyt ym penn Llwyn Diarwya; ac yno y bu y nos honno. A thrannoeth yn jeuenctit y dyd kyuodi a oruc a dyuot y Lynn Cuch y ellwng y gwn dan y coet; a chanu y gorn a dechreu dygyuor yr hela a cherdet yn ol y cwn ac ymgolli ae gedymdeithon. Ac ual y byd yn ymwarandaw a llef yr erchwys, ef a glywei llef erchwys arall; ac nyt oedynt vn llef; a hynny yn dyuot yn erbyn y erchwys ef. Ac ef a welei lannerch yn y coet o uaes gwastat. Ac ual yd oed y erchwys ef yn ymgael ac ystlys y llannerch, ef a welei carw o vlaen yr erchwys arall. A pharth a pherued y llannerch, llyma yr erchwys, a oed yn y ol, yn ymordiwes ac ef ac yn y vwrw yr llawr. Ac yna edrych ohonaw ef ar liw yr erchwys heb hanbwyllaw edrych ar y carw. Ac, or a welsei ef o helgwn y byt, ny welsei cwn un lliw ac wynt. Sef (2.) lliw, oed arnunt: claerwynn (2.*) llathreit, ac eu clusteu yn gochyon, ac, ual y llathrei wynnet y cwn, y llathrei cochet y clusteu. Ac ar hynny att y kwn y doeth ef, a gyrru yr erchwys, a ladyssei y carw, ymeith[2]) a llithyaw y erchwys e hunan ar y carw.

Ac ual y byd yn llithyaw y cwn, ef a welei varchawc yn dyuot yn ol yr erchwys y ar varch erchlas mawr, a chorn

---

[1]) *fehlt in WB.* [2]) eymdeith; *so stets in WB.*

canu am y vynwgyl, a gwisc o vrethyn llwyttei ymdanaw yn wisc hela. Ar hynny y marchawc a doeth attaw ef a dywedut ual hynn wrthaw: “A vnbenn, heb ef, mi a wnn, pwy wyt ti; ac ny chyuarchaf[1]) i well ytti.” “Je, heb ef, ac atuyd, y mae arnat o enryded, ual nas dylyy[2]).” „Dioer, heb ef, nyt teilygdawt vy anryded, am hetteil y hynny.” “A vnbenn, heb ynteu, beth amgen?” “Yrof i a Duw, heb ynteu, dy annwybot dy hun ath ansyberwyt.” “Pa ansyberwyt, unben, a weleist ti arnaf i?” “Ny weleis ansyberwyt vwy ar wr, heb ef, no gyrru yr erchwys, a ladyssei y karw, ymeith a llithyaw dy erchwys dy hun arnaw; hynny, heb ef, ansyberwyt oed; a chyn nyt ymdialwyf a thi, yrof i a Duw, heb ef, mi a wnaf o agclot itt gwerth can carw.” (3.*) “A vnben, heb ef, or gwneuthum gam, mi a brynaf dy gerennyd.” “Pa delw, heb ynteu, y pryny di?” “Wrth ual y bo dy enryded; ac ny wn i, pwy wyt ti.” “Brenhin coronawc[3]) wyf i yn y wlat, yd henwyf ohonei[4]).” “Arglwyd, heb ynteu, dyd da itt! A pha wlat yd henwyt[5]) titheu ohonei[6])?” “O Annwuyn, heb ynteu; Arawn, vrenhin Annwvyn, wyf i.” “Arglwyd, heb ynteu, pa ffuryf y kaffaf[7]) i dy gerennyd[8]) di?” “Llyma yr wed, y keffy, heb ynteu: Gwr yssyd, gyuerbyn y gyuoeth am kyuoeth ynneu, yn ryuelu arnaf yn (3.) wasstat. Sef yw hwnnw: Hafgan, brenhin o Annwuyn. Ac yr gwaret gormes hwnnw y arnaf — a hynny a elly di yn hawd — y keffy vyg kerennyd.” “Minneu a wnaf hynny, heb ynteu, yn llawen. A manac ditheu ymi, pa furyf y gallwyf hynny.” “Managaf, heb ynteu. Llyna, val y gelly: Mi a wnaf a thi gedymdeithas gadarn. Sef, ual y gwnaf: Mi ath rodaf di ym lle i yn Annwuyn, ac a rodaf y wreic deckaf, (4.*) a weleist eiryoet, y gyscu y gyt a thi beunoeth, am pryt ynheu am gosked[9]) arnat ti, hyt na bo gwas ystauell na swydyawc na dyn arall, oc[10]) am kanlynnwys i eiryoet[11]), a wypo, na bo miui, vych di. A hynny, heb ef, hyt ym penn y vlwydyn or dyd auory, ac an kynnadyl yna yn y lle honn.” “Je, heb ynteu, kyt bwyf i yno hyt ym penn y vlwydyn, pa

---

1) = *WB.* — *in RB. verschrieben:* nyfuarchaf 2) dylyei 3) corunawc 4) hanwyf oheni 5) hanwyt 6) oheni 7) caf 8) *RB. verschr.* gederennyd 9) ansawd 10) or 11) yroet

gyfuarwyd a vyd ymi o ymgael ar gwr, a dywedy di?" "Blwydyn, heb ef, y heno y mae oet yrof i ac ef ar y ryt; a byd di ym rith i yno, heb ef; ac un dyrnawt, a rodych di idaw ef, ny byd byw ef o hwnnw; a chyt archo ef ytti[1]) yr eil, na dyro, yr a ymbilio a thi. Yr a rodwn i idaw ef hagen, kystal a chynt yd ymladei a mi drannoeth." "Je, heb y Pwyll, beth a wnaf i am vyg gyuoeth[2])?" "Mi a wnaf[3]), heb yr Arawn, na bo yth gyuoeth na gwr na gwreic, a wypo, na bo tidi, wyf i. A miui a af yth le di." "Yn llawen, heb y Pwyll, a miui a af ragof." "Dilesteir uyd dy hynt ac ny russya dim ragot, yny delych ym kyuoeth i. A mi a uydaf hebrygyat arnat." (5.*) Ef ae hebrygyawd, yny welas y llys ar kyfuanned. "Llyna, heb ef, y llys ar kyuoeth yth uedyant; a chyrch y llys; nyt oes yndi neb, nyth adnapo; ac wrth ual y gwelych y gwassanaeth yndi, yd adnabydy voes y (4.) llys."

Kyrchu y llys a oruc ynteu. Ac yn y llys ef a welei hundyeu a neuadeu[4]) ac ystauelloed[5]) ac adurn[6]) teckaf, or a welsei neb o adeiladeu. Ac yr neuad y kyrchwys y diarchenu. Ef a doeth mackwyeit[7]) a gweisson ieueinc y diarchenu. A phawp, ual y delynt, kyuarch gwell a wneynt idaw. Deu uarchawc a doeth y dynnu[8]) y wisc hela y amdanaw ac y wiscaw eurwisc o bali ymdanaw; ar neuad a gyweirywyt. Llyna, y gwelei ef teulu a niueroed[9]), ar niuer hardaf a chyweiryaf, or a welsei neb, yn dyuot y mywn, ar urenhines y gyt ac wynt yn deckaf gwreic, or a welsei neb, ac eurwisc ymdanei o bali llathreit. Ac ar hynny y ymolchi yd aethant a chyrchu y byrdeu[10]) a orugant ac eisted a wnaethant ual hynn: Y urenhines or neill parth idaw ef ar iarll, deby-(6.*) gyei ef, or parth arall. A dechreu ymdidan a wnaeth ef ar vrenhines. Ac or a welsei eiryoet — wrth ymdidan a hi —: disemylaf[11]) gwreic a bonhedigeidaf y hannwyt ae hymdidan oed. A threulaw a wnaethant bwyt a llynn a cherdeu a chyuedach. Or a welsei o holl lyssoed y dayar, llyna y llys diwallaf o vwyt a llynn ac eurlestri a theyrndlysseu. Amser

---

[1]) + rodi [2]) ym kyuoeth, *RB. u. WB.!* [3]) baraf [4]) ac yneuadeu [5]) ysteuyll [6]) ar ardurn [7]) makwyueit [8]) i waret [9]) ac yniueroed [10]) bordeu [11]) dissymlaf

a doeth udunt y uynet y gyscu; ac y gyscu yd aethant, ef ar urenhines. Y gyt ac yd aethant yr[1]) gwely, ymchoelut y wyneb att yr erchwyn a oruc ef ae gevyn attei hitheu. O hynny hyt trannoeth ny dywawt[2]) ef wrthi hi vn geir. Trannoeth tirionwch ac ymdidan hegar a uu yryngtunt. Peth bynnac o garueidrwyd a vei yryngtunt y dyd, ny bu un nos hyt ym penn y vlwydyn amgen, noc a uu y nos gyntaf.

Treulaw y vlwydyn a wnaeth drwy hela (5.) a cherdeu a chyfedach a charueidrwyd ac ymdidan a chedymdeithon hyt y nos, yd oed oet y gyfranc. Yn oet y nos (7.*) honno, kystal y doei[3]) y gof yr dyn eithaf yn yr holl gyuoeth yr oet. Ac yntev a doeth yr oet a gwyrda y gyuoeth y gyt ac ef. Ac, y gyt ac y doeth yr ryt, marchawc a gyuodes y vynyd ac a dywawt[2]) val hynn: "A wyrda, heb ef, ymwrandewch[4]) yn da: yrwng y deu vrenhin y mae yr oet hwnn[5]), a hynny rwng eu deu gorf[6]) ell deu[7]); a phop un ohonunt yssyd hawlwr ar y gilyd, a hynny am dir a dayar. A segur y digawn p(a)wb ohonawch vot eithyr gadu yryngtunt wy ell deu[7])." Ac ar hynny y deu urenhin a nessayssant y gyt am perued y ryt ac ymgyuaruot. Ac ar y gossot kyntaf y gwr, a oed yn lle Arawn, a ossodes ar Hafgan ym perued bogel y daryan, yny hyllt yn deu hanner, ac yny tyrr yr arueu[8]), ac yny vyd Hafgan hyt y vreich ae paladyr dros pedrein y varch yr llawr ac agheuawl dyrnawt yndaw ynteu. "A unben, heb yr Hafgan, pa dylyet oed itti ar vy angeu (8.*) i? Nyt yttoedwn i yn holi dim ytti; ny wydwn achaws[9]) itt heuyt ym llad i. Ac, yr Duw, heb ef, canys dechreueist vy llad, gorffen!" "A vnbenn, heb ynteu, ef a eill vot yn ediuar gennyf, a wneuthum[10]) itt; keis, ath ladho; ny ladaf i di." "Vyg gwyrda kywir, heb yr Hafgan, dygwch vi odyma! Neut teruynedic agheu y mi; nyt oes ansawd ymi ych kynnal chwi bellach." "Vyg gwyrda ynheu, heb y gwr, a oed yn lle Arawn, kymerwch ych kyuarwyd a gwybydwch, pwy a dylyy[11]) bot yn wyr ymi." "Arglwyd, heb y gwyrda, pawb

---

[1]) yn y [2]) dywot (*so meist in WB.*) [3]) doi [4]) ymwerendewch [5]) + yryngtunt *in RB.* [6]) gorff [7]) wyll deu [8]) + oll [9]) achos [10]) *RB.* wneuthun [11]) dylyo

ae dylyy, kanyt oes vrenhin ar holl Annwvyn namyn ti." (6.) "Je, heb ynteu, a del yn waredawc, iawn yw y gymryt; ac, ar ny del yn uuyd[1]), kymheller o nerth cledyfeu!" Ac ar hynny kymryt gwrogaeth y gwyr a dechreu goresgyn[2]) y wlat. Ac erbynn hanner dyd drannoeth yd oed yn y vedyant y dwy deyrnas[3]).

Ac ar hynny ef a gerdwys parth ae gynnadyl, ac a doeth y Lyn Cuch. A phan doeth yno, yd oed (9.*) Arawn, vrenhin Annwuyn, yn y erbyn. Llawen vu pob vn wrth y gilyd ohonunt. "Je, heb yr Arawn, Duw a dalo itt dy gedymdeithas; mi ae kigleu. Je, heb ynteu, pan delych dy hun yth wlat, ti a wely, a wneuthum yrot ti." "A wnaethost, heb ef, yrof i, Duw ae talo itt!" Yna y rodes Arawn y ffuryf ae drych e hun y Pwyll pendeuic Dyuet ac y kymerth ynteu y ffuryf e hun ae drych.

Ac y kerdawd Arawn racdaw parth ae lys y Annwvyn; ac y bu digryf gantaw ymwelet ae niuer[4]) ac ae teulu, kan nys[5]) gwelsei yr ys talym[6]). Wynteu hagen ny wybuyssynt y eisseu ef, ac ny bu newydach gantunt y dyuodyat no chynt. Y dyd hwnnw a dre(u)lwys trwy digrifwch a llewenyd ac eisted ac ymdidan ae wreic ac ae wyrda. A phan vu amserach kymryt hun no chyuedach, y gyscu yd aethant. Y wely a gyrchwys y brenhin, ae wreic a aeth attaw. Kyntaf y gwnaeth ef ymdidan ae wreic ac ymyrru ar digrifwch serchawl a charyat arnei. A hynny (10.*) nys gordyfynassei[7]) hi yr ys blwydyn. A hynny a vedylywys hi: "Oi a Duw, heb hi, pa amgen vedwl yssyd yndaw ef heno, noc ar y[8]) uu ys blwydyn y heno?" A medylyaw a wnaeth yn hir; a gwedy y medwl hwnnw dyhunaw a wnaeth ef, a pharabyl a dywawt ef wrthi hi, ar eil, ar trydyd; ac (7.) atteb nys kauas[9]) ef genthi hi yn hynny. "Pa achaws, heb ynteu, na dywedy di wrthyf i?" "Dywedaf wrthyt, heb hi, na dywedeis ys blwydyn y gymeint yn y kyfryw le a hwnn." "Paham? heb ef, ys glut a beth, yd ymdidanyssam ni." „Meuyl im, heb hi, yr ys blwydyn y neithwyr, or pan elem yn nyblic[10])

---

(6.) [1]) *so WB., RB. hat* vuud [2]) guereskynn [3]) dyrnas [4]) ay eniuer [5]) *RB. u. WB.* kanys, canis [6]) rywelsei ef. — yr ys t. *fehlt WB.* [7]) ny ordifnassei [8]) a [9]) ny chauas [10]) yn nyblyc *WB.*; yn yblic *RB.*

yn dillat gwely, na digrifwch nac ymdidan nac ymchoelyt[1]) ohonat[2]) dy wyneb attaf i, yn chwaethach, a uei vwy no hynn, or bu yrom ni." Ac yna y medylywys ef: "Oi a Arglwyd Duw, heb ef, kadarn a vn gwr y gedymdeithas a diffleis, a geueis i yn gedymdeith!" Ac yna y dywawt ef wrth y wreic: "Arglwydes, heb ef, na chabla di viui. Yrof i a Duw, heb (11.*) ynteu, ny chysgeis ynneu y gyt a thitheu yr ys blwydyn y neithwyr, ac ny orwedeis." Ac yna menegi y holl gyfaranc[3]) a wnaeth idi. "Y Duw y dygaf vyng kyffes, heb hitheu, gauael gadarn a geueist ar gedymdeith yn herwyd ymlad a phrouedigaeth y gorff a chadw kywirdeb wrthyt titheu." "Arglwydes, heb ef, sef ar y medwl hwnnw, yd oedwn ynheu, tra deweis wrthyt ti." "Diryued oed hynny", heb hitheu.

Ynteu Pwyll pendeuic Dyuet a doeth y gyuoeth ac y wlat a dechreu amouyn a gwyrda y wlat, beth uuassei y arglwydiaeth ef arnadunt[4]) hwy y vlwydyn honno, y wrth ry uuassei kyn no hynny. "Arglwyd, heb wy, ny bu gystal dy wybot; ny buost gynhegaret gwas ditheu; ny bu gynhawsset gennyt titheu treulaw dy da; ny bu well dy dosparth eiryoet nor ulwydyn honn." "Yrof i a Duw, heb ynteu, ys iawn a beth ywch chwi[5]) diolwch yr gwr, a uu y gyt a chwi, a llyma y gyfranc, ual y bu." Ae (12.*) datkanu oll o Bwyll udunt. "Je arglwyd, heb wy, (8.) diolwch y Duw kaffel ohonat y gedymdeithas honno. Ar arglwydiaeth, a gawssam ninheu y vlwydyn honno, nys attygy y gennym!?" "Ot gwnn, nac attygaf, yrof y a Duw", heb ynteu Bwyll. Ac o hynny allan dechreu kadarnhau kedymdeithas yryngtunt ac anuon o bop un y gilyd meirch a milgwn a hebogeu a phob kyfryw dlws, or a debygei bop vn digrifhau medwl y gilyd ohonaw. Ac o achaws y drigyant ef y vlwydyn honno yn Annwuyn a gwledychu ohonaw yno mor lwydyannus a dwyn y dwy deyrnas[6]) yn vn[7]) drwy y dewred ef ae vilwryaeth y diffygywys y enw ef ar Pwyll penndeuic Dyuet ac y gelwit Pwyll penn Annwuyn o hynny allan.

---

[1]) ymchwelut [2]) ahonot [3]) gyfranc [4]) arnunt [5]) *RB.* yw ychwi, *WB.* iwch chwi [6]) dyrnas [7]) + dyd *RB.*

A threigylgweith yd oed yn Arberth, priflys idaw, a gwled darparedic idaw ac yniueroed mawr o wyr y gyt ac ef. A gwedy y bwyta kyntaf kyuodi y orymdeith a oruc Pwyll a chyrchu penn gorsed, a oed uch law y llys, a elwit Gorsed Arberth. "Arglwyd, heb (13.*) un or llys, kynnedyf yr orsed yw: pa dylyedawc bynnac, a eistedo arnei, nat a odyno heb vn or deu peth: ae kymriw ae[1]) archolleu, neu ynteu a welei ryuedawt." „Nyt oes arnaf i ovyn kael kymriw neu archolleu ym plith hynn o niuer. Ryuedawt hagen, da oed gennyf, pei as[2]) gwelwn. Mi a af yr orsed y eisted." Eisted a wnaeth ar yr orsed. Ac ual y bydant yn eisted, wynt a welynt gwreic ar uarch canwelw mawr aruchel a gwisc eureit lathreit[3]) ymdanei yn dyuot ar hyt y brifford, a gerdei or[4]) orsed. Kerdet araf gwastat oed gan y march ar uryt y neb, ae gwelei; ac yn dyuot yn ogyfuuch[5]) ar orsed. "Ha wyr, heb y Pwyll, a oes ohonawch chwi, a adnapo y uarchoges racco?" (9.) "Nac oes, arglwyd", heb wynt. "Aet vn, heb ynteu, yn y herbyn y wybot, pwy vo[6])." Vn a gyuodes y uynyd[7]). A phan doeth yn y herbyn yr fford, neut athoed hi heibaw. Y hymlit a wnaeth, ual y gallei gyntaf o pedestric. A phei vwyhaf[8]) vei y vrys ef, pellaf vydei hitheu y wrthaw ef. A phan welas, (14.*) na thygyei idaw y hymlit, ymchoelut[9]) a oruc att Pwyll a dywedut wrthaw: "Arglwyd, heb ef, ny thyckya y pedestyr[10]) yn y byt y hymlit hi." "Je, heb ynteu Pwyll, dos dos[11]) yr llys a chymer y march kyntaf, a welych[12]), a dos ragot yn y hol." Y march a gymerth ac racdaw yd aeth; y maestir gwastat a gauas, ac ef a dangosses yr ysparduneu yr march. A phei vwyhaf, y lladei ef y march, pellaf vydei hitheu y wrthaw ef. Yr vn gerdet, a dechreuassei hitheu, yd oed arnaw. Y varch ef a ballwys. A phan wybu ef ar y varch pallu y pedestric, ymchoelut hyt y lle[13]), yd oed Pwyll, a wnaeth. "Arglwyd, heb ef, ny thyckya y neb ymlit yr unbennes racko; ny wydwn i varch gynt yn y kyuoeth no hwnn, ac ny thygyei ymi y ymlit hi." "Je, heb y Pwyll, y

---

[1]) neu [2]) ys [3]) + o bali [4]) heb law yr [5]) y ogyuuch
[6]) yw [7]) *RB. falsch:* ynvud [8]) mwyf [9]) ymchwelut [10]) pedestric
[11]) *WB. ein* dos [12]) wypych [13]) ymchwelut yn yd oed

mae yno ryw ystyr hut. Awn parth ar llys!" Yr llys y doethant, a threulaw y dyd hwnnw a wnaethant.

A thrannoeth kyuodi y uynyd a wnaethant a threulaw hwnnw, yny oed amser (15.*) mynet y vwyta. A gwedy y bwyta kyntaf: "Je, heb ynteu Bwyll, ni a awn[1]), yr vn niuer[2]), y buam doe, y penn yr orsed. A thydi, heb ef wrth vn oe uackwyeit[3]), dwc gennyt y march kyntaf, a wypych yn y maes." A hynny a wnaeth y mackwy[4]). Yr orsed a gyrchassant ar march gantunt. Ac ual y bydynt yn eisted[5]), wynt a welynt y wreic ar yr un march, ar vn wisc ymdanei (10.) yn dyuot yr vn fford. "Llyma, heb y Pwyll, y uarchoges doe. Byd barawt, was, heb ef, y wybot, pwy yw hi." "Arglwyd, heb ef, mi a wnaf hynny yn llawen." Ar hynny y uarchoges a doeth gyuerbyn ac wynt. Sef a oruc y mackwy[4]) yna: ysgynnu ar y march. A chynn daruot idaw ymgyweiryaw yn y gyfrwy, neur ry adoed hi heibyaw a chynnwll yryngtunt. Amgen vrys gerdet nyt oed genthi hi nor dyd gynt. Ynteu a gymerth rygig[6]) y gan y uarch; ac ef a debygei yr arauet, y kerdei y uarch, yr ymordiwedei a hi. A hynny ny thy(16.*)gyei[7]) idaw. Ellwng y uarch a oruc wrth avwyneu; nyt oed ef nes idi yna, no chyn[8]) bei ar y gam. A phei vwyhaf[9]), y lladei ef y varch, pellaf vydei hitheu y wrthaw ef. Y cherdet hitheu nyt oed uwy no chynt. Kany welas ef tygyaw idaw y hymlit, ymchoelut a wnaeth hyt y lle[10]), yd oed Pwyll. "Arglwyd, heb ef, nyt oes allu gan y march amgen, noc a weleist ti." "Mi a weleis, heb ynteu, ny thykya y neb y herlit hi. Ac yrof i a Duw, heb ef, yd oed neges idi wrth rei or maes hwnn, pei gattei wrth pwyll[11]) idi y dywedut. A ni a awn[1]) parth ar llys." Yr llys y doethant a threulaw y nos honno a wnaethant[12]) drwy gerdeu a chyuedach, ual y bu lonyd gantunt.

A thrannoeth divyrru y dyd a wnaethant, yny oed amser mynet y vwyta. A phan daruu udunt y bwyt, Pwyll a dywawt: „Mae yr niuer[2]), y buam ni doe ac echdoe ym penn yr orsed?" "Llyma, arglwyd," heb wynteu. "Awn, heb ef,

---

[1]) *RB.* ni awn [2]) yr yniuer [3]) uakwyueit [4]) makwyf [5]) eiste [6]) rygyng [7]) thygywys [8]) chynt [9]) wyaf [10]) a dyuot yn [11]) wrthpwythi [12]) orugant

yr orsed y eisted[1]). A thitheu, heb ef wrth was y uarch, kyfrwya (17.*) vy march yn da a dabre ac ef yr fford a dwc vy ysparduneu gennyt." Y gwas a wnaeth hynny. Dyuot yr orsed a orugant (11.) y eisted. Ny buant hayach o enkyt yno, yny welynt y uarchoges yn dyuot yr vn fford ac yn vn ansawd ac yn yr vn gerdet[2]). "Ha was, heb y Pwyll, mi a welaf y uarchoges yn dyuot. Moes vy march!" [Yskynnu a oruc Pwyll ar y uarch,] ac nyt kynt yd yskynn ef ar y uarch, noc yd a hitheu hebdaw ef. Troi yn y hol a oruc ef a gadel y uarch drythyll llamsachus y gerdet. Ac ef a debygei, ar yr eil cam[3]) neu ar y trydyd y gordiwedei. Nyt oed nes hagen idi no chynt. Y uarch a gymhellawd or kerdet mwyhaf, a oed gantaw; a gwelet a wnaeth, na thygyei idaw y hymlit. Yna y dywawt[4]) Pwyll: "A vorwyn, heb ef, yr mwyn y gwr, mwyhaf a gery, arho vi!" "Arhoaf yn llawen, heb hi, ac oed llessach yr march, pei ass archut yr meittyn." Seuyll ac arhos a oruc y uorwyn a gwaret y rann, a dylyei vot am y hwyneb o wisc y phenn, ac attal y golwc arnaw a dechreu ymdidan ac ef. (18.*) "Arglwydes, heb ef, pan doy di, a pha gerdet yssyd arnat?" "Kerdet wrth vy negesseu, heb hi; a da yw gennyf dy welet ti." "Grassaw[5]) wrthyt y gennyf i!" heb ef. Ac yna medylyaw a wnaeth bot yn diuwyn ganthaw pryt, a welsei eiryoet o uorwyn a gwreic, y wrth y phryt hi. "Arglwydes, heb ef, a dywedy di ymi dim oth negesseu?" "Dywedaf, yrof a Duw! heb hi: Pennaf neges uu ymi keisaw dy welet ti." "Llyna, heb y Pwyll, y neges oreu gennyf i: dy dyuot ti idi! Ac a dywedy di ymi, pwy wyt?" „Dywedaf, arglwyd, heb hi: Riannon, uerch Heueyd Hen, wyf i; am rodi y wr om hanvod yd ydys; ac ny mynneis inheu un gwr, a hynny oth garyat ti; ac nys mynnaf ettwa, onyt ti, am gwrthyt. Ac y wybot dy atteb di am hynny y deuthum i." "Rof i a Duw, heb ynteu Bwyll, (12.) llyna vy atteb i ytti: pei caffwn dewis ar holl wraged a morynyon y byt, mae ti, a dewisswn." "Je, heb hitheu, os hynny, a vynny, kynn vy rodi y wr arall, gwna (19.*) oet a mi." "Goreu yw gennyf i, heb y Pwyll, bo kyntaf; ac yn

---

1) eiste 2) *RB. verschr.* yn vnvngerdet 3) neit 4) dywat *RB.* dywot *WB.* 5) crassaw.

y lle, y mynnych di, gwna yr oet." "Gwnaf, arglwyd, heb hi: blwydyn y heno yn llys Heueyd mi a baraf bot gwled darparedic yn barawt erbyn dy dyuot." "Yn llawen, heb ynteu, a minheu a vydaf yn yr oet hwnnw." "Arglwyd, heb hi, tric yn iach a choffa gywiraw dy edewit! Ac ymeith yd af i." A gwahanu a wnaethant; a chyrchu a wnaeth ef parth ae teulu ae niuer. Pa amouyn bynnac a vei ganthunt wy y wrth y uorwyn, y chwedleu ereill y trossei ynteu.

Odyna treulaw y vlwydyn hyt yr amser a wnaethant; ac ymgweiraw ar y ganuet marchawc, a mynet yrygtaw[1]) a llys Eueyd Hen. Ac ef a doeth yr llys, a llawen uuwyt wrthaw, a dygyuor a llewenyd ac arlwy mawr a oed yn y erbyn. A holl uaranned y llys wrth y gyghor ef y treulwyt. Kyweiryaw y neuad a wnaethpwyt, ac yr bordeu yd aethant. Sef ual yd eistedyssant: Heueyd Hen ar neill law Pwyll, a Riannon or parth arall idaw; y am hynny (20.*) pawb, ual y bei y enryded. Bwyta a chyuedach ac ymdidan a wnaethant. Ac ar dechreu kyuedach gwedy y bwyt wynt a welynt yn dyuot y mywn gwas gwineu mawr teyrneyd, a gwisc o pali ymdanaw. A phan doeth y gynted y neuad, kyuarch gwell a oruc y Pwyll ae gedymdeithon. "Grassaw[2]) Duw wrthyt, eneit! heb y Pwyll, a dos y eisted." "Nac af, heb ef; eirchat wyf am neges a wnaf." "Gwna yn llawen!" heb y Pwyll. "Arglwyd, heb ef, wrthyt ti y mae vy neges i; ac y erchi itt y dodwyf." (13.) "Pa arch bynnac a erchych di ymi, hyt y gallwyf y gaffel, itti y byd." "Och, heb y Riannon, paham y rody di atteb uelly?" "Neus rodes uelly, arglwydes, yg gwyd gwyrda", heb y mackwy[3]). "Eneit, heb y Pwyll, beth yw dy arch di?" "Y wreic, vwyaf a garaf, yd wyt yn kyscu heno genthi, ac y herchi hi ar arlwy ar darmerth, yssyd yman, y dodwyf i." Kynhewi a oruc Pwyll, kany bu atteb, a rodassei. "Taw, hyt y mynnych, heb y Riannon, ny bu uuscrellach gwr ar y synnwyr e hun, noc ry uuost ti." "Arglwydes, heb ef, ny wydwn i, pwy oed ef." "Llyna y gwr, y mynnassit uy rodi i idaw om hanuod, heb hi, Gwawl uab Clut, gwr tormyn(21.*)nawc kyuoethawc. A chan derw itt dywedut y geir, a dywedeist, dyro vi idaw rac aglot itt."

---

[1]) Ef a aeth ryngtaw [2]) Cressaw [3]) ef.

"Arglwydes, heb ef, ny wn i, pa ryw atteb yw hwnnw. Ny allaf i arnaf, a dywedy di, vyth." "Dyro di vi idaw ef, heb hi, a mi a wnaf, na chaffo ef viui vyth." "Pa ffuryf vyd hynny?" heb y Pwyll. "Mi a rodaf yth law got vechan, heb hi, a chadw honno [gennyt] yn da. Ac ef a eirch y wled ar arlwy ar darmerth, ac nyt oes yth uedyant ti hynny. A miui a rodaf y wled yr ṅiueroed ar teulu, heb hi. A hwnnw uyd dy atteb am hynny. Amdanaf ynneu, heb hi, mi a wnaf oet ac ef vlwydyn y heno y gyscu gennyf; ac ym penn y vlwydyn, heb hi, byd ditheu ar got honn gennyt ar dy ganuet marchawc yn y berllan uchot. A phan uo ef ar ganawl[1]) y digrifvwch ae gyfedach, dyret titheu dy hun y mywn, a dillat reudus ymdanat ar got yth law, heb hi. Ac nac arch dim namyn lloneit y got o vwyt. A minneu a baraf, heb hi, pei dottit, yssyd yn y seith cantref hynn o vwyt a llynn, yndi, na bo llawnach[2]) no (14.) chynt. A gwedy byryer llawer yndi, ef a ovyn itt: 'A vyd llawn dy got ti vyth?' Dywet titheu: »Na (22.*) vyd, ony chyvyt dylyedawc trachyuoethawc a gwascu ae deu troet y bwyt yn y got a dywedut: 'Digawn a[3]) dodet yman'.« A minneu a baraf idaw ef vynet y seghi y bwyt yn y got. A phan el ef, tro ditheu y got, yny el ef dros y penn yn y got; ac yna llad glwm ar garreyeu[4]) y got. A bit corn canu da am dy vynwgyl, a phan uo ef yn rwymedic yṅ y got, dot titheu lef ar dy gorn, a bit hynny yn arwyd yrot ath uarchogyon: Pan glywhont llef dy gorn, disgynnent wynteu am benn y llys." "Arglwyd, heb y Gwawl, madws oed ymi kaffel[5]) atteb, am a ercheis." "Kymeint, ac a ercheist, heb y Pwyll, or a uo ym medyant i, ti ae keffy." "Eneit, heb hitheu Riannon, am y wled ar darpar, yssyd yma, hwnnw a rodeis i y wyr Dyuet ar teulu ar niueroed[6]), yssyd yma; hwnnw nyt adawaf[7]) i y rodi y neb. Blwydyn y heno[8]) y byd gwled darparedic yn y llys honn y titheu, eneit, y gyscu gennyf ynheu." Gwawl a gerdawd ryngthaw ae gyuoeth. Pwyll ynteu a doeth y Dyuet.

Ar vlwydyn honno a dreulwys pawb ohonunt hyt oet y wled, oed yn llys (23.*) Eueyd Hen. Gwawl uab Clut a

---

[1]) perued [2]) bydei launach [3]) ry [4]) garryeu [5]) cael
[6]) ar yniueroed [7]) eidawaf [8]) + ynteu

doeth parth ar wled, a oed darparedic idaw, a chyrchu y llys a wnaeth; a llawen uuwyt wrthaw. Pwyll ynteu, penn Annwuyn[1]), a doeth yr berllan ar y ganuet marchawc, ual y gorchymynnassei Riannon idaw, ar got gantaw. Gwiscaw bratteu trymyon[2]) ymdanaw a wnaeth[3]) Pwyll a[4]) lloppaneu mawr am y traet. A phan wybu y bot ar dechreu kyuedach wedy bwyta, dyuot racdaw yr neuad; a gwedy y dyuot y gynted y neuad, kyf(15.)uarch gwell a wnaeth y Wawl uab Clut ae gedymdeithon o wyr a gwraged. "Duw a rodo[5]) da ytt, heb y Gwawl, a graessaw[6]) Duw wrthyt!" "Arglwyd, heb ynteu, Duw a dalo itt! Negessawl wyf wrthyt." "Graessaw[7]) wrth dy neges, heb ef, ac os arch gyfuartal, a erchy ymi, yn llawen ti ae keffy." "Kyfuartal, arglwyd, heb ynteu; nyt archaf ðnyt rac eisseu. Sef arch, a archaf: lloneit y got uechan, a wely di, o vwyt." "Arch didraha yw honno, heb ef, a thi ae keffy yn llawen. Dygwch vwyt idaw!" heb ef. Riuedi mawr o swydwyr a gyuodassant y uynyd a dechreu llenwi y got. Ac, yr a uyrit yndi, ny bydei lawnach no chynt. "Eneit, (24.*) heb y Gwawl, a vyd llawn dy got ti vyth?" "Na uyd, yrof a Duw, heb ynteu, yr a dotter yndi vyth, ony chyuyt dylyedawc tir a dayar a chyuoeth, a senghi ae deu troet y bwyt yn y got, a dywedut: digawn a[8]) dodet yma." "A geimat, heb y Riannon, kyuot y uynyd ar vyrr!" wrth Wawl uab Clut. "Kyuodaf yn llawen!" heb ef; a chyuodi y uynyd a oruc a dodi y deu troet yn y got, a throi o Bwyll y got, yny vyd Gwawl dros y benn yn y got, ac yn gyflym kaeu y got a llad clwm ar y carreyeu[9]) a dodi llef ar y gorn. Ac ar hynny, llyma y teulu am penn y llys, ac yna kymryt pawp or niuer, a doeth y gyt a Gwawl, ae dodi yn y garchar e hun. A bwrw y bratteu ar lloppaneu ar yspeil didestyl y amdanaw a oruc Pwyll. Ac ual y delei bob un oe niuer ynteu y mywn, y trawei[10]) dyrnawt ar y got ac y gouynnei: "Beth yssyd yman?" "Broch", medynt wynteu. Sef kyfryw chware a wneynt: taraw a wnaei bop vn dyrnawt ar y got, ae ae droet ae a throssawl; ac uelly gware ar got a wnaethant. Pawb, (16.) ual y delei, a ovynnei:

---

[1]) Annwn [2]) trwm [3]) oruc [4]) + chymryt [5]) ro
[6]) a chraessaw [7]) Craessaw [8]) ry [9]) carryeu [10]) + pob un

"Pa chware a wnewch chwi uelly?" "Gware broch-yg-cot", medynt wynteu. Ac yna gyntaf y gwarywyt broch-yg-cot. "Arglwyd, heb y gwr or got, pei gwarandawut uiui, nyt oed dihenyd arnaf vy llad y mywn cot." "Arglwyd (25.*) heb Eveyd[1]) Hen, gwir a dyweit. Iawn yw itt y warandaw, nyt dihenyd arnaw hynny." "Je, heb y Pwyll, mi a wnaf dy gyghor di amdanaw ef." "Llyma dy gyghor di, heb y Riannon yna: Yd wyt yn y lle, y perthyn arnat llonydu eircheit a cherdoryon; gat yno ef y rodi y bawp drossot, heb hi, a chymer gedernit y ganthaw, na bo amovyn na dial vyth amdanaw. A digawn yw hynny o gosp arnaw." "Ef a geiff hynny yn llawen", heb y gwr or got. "A minneu ae kymeraf yn llawen, heb y Pwyll, gan gynghor Eueyd a Riannon." "Kynghor yw hynny y gennym ni", heb wynt. "Y gymryt a wnaf, heb y Pwyll; keis veichev drossot." "Ni a vydwn drostaw, heb Eueyd, yny vo ryd y wyr y vynet drostaw." Ac ar hynny y gollygwyt ef or got ac y rydhawyt y oreugwyr. "Gouyn weithon y Wawl veicheu, heb Eueyd; ni a atwaenwn y neb, a dylyer y kymryt y gantaw." Riuaw y meicheu a wnaeth Eueyd. "Llunnya dy hun, heb y Gwawl, dy amot." "Digawn yw gennyf i, heb y Pwyll, ual y llunyawd Riannon." Y meicheu a aeth ar yr amot hwnnw. „Je arglwyd, heb y Gwawl, briwedic wyf i a chymriw mawr a geueis, ac enneint[2]) yssyd reit ymi, ac ymeith yd af gan (26.*) dy gennyat[3]) ti. A mi a atawaf[4]) wyrda drossof yma y atteb y bawp, or ath ovynno di." "Yn llawen, heb y Pwyll, a gwna ditheu hynny." Gwawl a aeth parth ae gyuoeth.

Y neuad ynteu a gyweirwyt y Pwyll ae niuer ac y niuer y llys y am hynny; ac (17.) yr bordeu yd aethant y eisted. Ac ual yd eistedyssant vlwydyn or nos honno, yd eistedwys pawb y nos honno. Bwyta a chyuedach a wnaethant. Ac amser a doeth y vynet y gyscu, ac yr ystauell yd aeth Pwyll a Riannon; a threulaw y nos honno drwy digrifwch a llonydwch a wnaethant. A thrannoeth yn ieuenctit y dyd: "Arglwyd, heb y Riannon, kyuot y uynyd! a dechreu lonydu y kerdoryon, ac na omed neb hediw, or a vynno da." "Hynny a wnaf i yn llawen, heb y Pwyll, a hediw a pheunyd,

---

[1]) Euey [2]) ennein [3]) gannyat [4]) adawaf

tra barhao y wled honn." Ef a gyuodes Pwyll y vynyd a pheri dodi gostec y erchi y holl eircheit a cherdoryon dangos [1]), a menegi udunt, y llonydit pawb ohonunt wrth y uod ae vympwy. A hynny a wnaethpwyt. Y wled honno a dreulwyt, ac ny omedwyt neb, tra barhaawd.

A phan daruu y wled, "Arglwyd, heb y Pwyll wrth Eueyd, mi a gychwynnaf gan dy genyat [2]) parth a Dyuet (27.*) auory." "Je, heb Eueyd, Duw a rwydhao ragot! a gwna oet a chyfnot, y del Riannon yth ol." "Yrof i a Duw, heb ynteu Bwyll, y gyt y kerdwn odyma." "Ae uelly, y mynny di, arglwyd?" heb yr Eueyd. "Velly, yrof a Duw!" heb y Pwyll.

Wynt a gerdassant trannoeth parth a Dyuet; a llys Arberth a gyrchyssant; a gwled darparedic a oed yno udunt. Dygyuor y wlat ar kyuoeth a doeth attunt or gwyr goreu ar gwraged goreu. O hynny nyt etewis Riannon neb heb [3]) rodi rod ennwawc idaw, ae o gae, ae o vodrwy, ae o vaen gwerthuawr. Gwledychu y wlat a wnaethant yn llwydyannus y vlwydyn honno ar eil.

Ac yn y dryded vlwydyn y dechreuis gwyr y wlat dala trym-uryt yndunt o welet gwr, kymeint a gerynt ae harglwyd ac eu brawtuaeth, (18.) yn diettiued; ae dyuynnu attunt a wnaethant. Sef lle, y doethant y gyt: y Bresselev yn Dyuet. "Arglwyd, heb wynt, ny wdam ni, na [4]) bydy gyuoet ti a rei o wyr y wlat honn, ac ynn ouyn ni yw, na byd itt ettiued or wreic, yssyd gyt a thi [5]). Ac wrth hynny kymer wreic arall, y bo ettiued itt ohonei; nyt byth, (28.*) heb wynt, y perhey di, a chyt kerych di vot velly, nys diodefwn y gennyt." "Je, heb y Pwyll, nyt hir ettwa, yd ym y gyt, a llawer damwein a digawn bot. Oetwch [6]) a mi hynn hyt ym penn y vlwydyn; a blwydyn yr amser hwnn ni a wnawn yr oet y dyuot y gyt, ac wrth ych kynghor y bydaf." Yr oet a wnaethant.

Kynn penn [7]) cwbyl or oet mab a anet idaw ef, ac yn Arberth y ganet. Ar nos, y ganet, y ducpwyt gwraged y

---

[1]) *lies* ymdangos? [2]) gannyat [3]) Na gwr na gwreic o hynny nyt edewis R. heb ... [4]) *so nach Loth. — WB. u. RB.:* ni a wdam na [5]) gennyt [6]) oedwch [7]) dyuot



wylat y mab ae uam. Sef a wnaeth y gwraged: kyscu a mam y mab, Riannon. Sef riuedi o wraged, a ducpwyt yr ystauell: chwech wraged. Gwylat a wnaethant wynteu dalym or nos. Ac yn hynny eissoes [1]), kynn hanner nos kyscu a wnaeth pawp ohonunt, a thu ar pylgein [2]) deffroi. A phan deffroassant, edrych a orugant y lle, y dodyssynt y mab. Ac nyt oed dim ohonaw yno. "Och, heb yr un or gwraged, neur golles y mab!" "Je, heb arall, bychan a dial oed an lloski ni neu an dihenydyaw am y mab!" "A oes, heb vn or gwraged, kyghor or byt am hynn?" "Oes, heb arall; mi a wn gyghor da." "Beth yw hynny?" heb wy. "Gellast yssyd yman, heb hi, a chynawon [3]) genthi. Lladwn rei or kynawon [3]) ac irwn y hwyneb hitheu Riannon (29.*) ar gwaet ae dwy law, a byrwn yr esgyrn ger y bronn, a thaerwn arnei e hun diuetha y mab; ac ny byd an taered ni an whech [4]) wrthi hi e hunan [5])." Ac ar y (19.) kyghor hwnnw y trigyassant [6]). Parth ar dyd Riannon a deffroes ac a dywawt: "A wraged, heb hi, mae y mab?" "Arglwydes, heb wy, na ouyn di yni y mab; nyt oes ohonam ni namyn cleisseu a dyrnodeu yn ymdaraw a thi, a diamheu yw gennym, na welsam eiryoet vilwryaeth yn vn wreic kymeint ac ynot ti; ac ny thygyawd yni ymdaraw a thi; neur diffetheeist dy hun dy uab, ac na hawl ef ynni." "A druein, heb y Riannon, yr yr arglwyd Duw, a wyr pob peth, na yrrwch geu arnaf i! Duw, a wyr pob peth, a wyr bot yn eu hynny [7]). Ac os ovynn, yssyd arnawch chwi, ym kyffess y Duw, mi ach differaf!" "Dioer, heb wy, ny adwn ni drwc arnam ny hunein yr dyn yn y byt." "A druein, heb hitheu, ny cheffwch [8]) un drwc yr dywedut y wirioned." Yr a dywettei hi yn dec ac yn druan, ny chaffei namyn yr un atteb gan y gwraged. Pwyll penn Annwuyn [9]) ar hynny a gyuodes ar teulu ar niueroed [10]); a chelu y damwein hwnnw ny allwyt. Yr wlat yd aeth y chwedyl a phawb or gwyrda ae kigleu.

Ar gwyrda a doethant y gyt y (30.*) wneuthur kennadeu [11]) att Bwyll y erchi idaw ysgar ae wreic am gyflafan mor

---

[1]) eisswys [2]) pylgeint [3]) c(h)anawon [4]) chwech [5]) e hun [6]) trigwyt [7]) + arnaf i [8]) chewch [9]) Annwn [10]) ar yniueroed [11]) kynn^h^adeu

anwedus, ac a wnathoed [1]). Sef atteb, a rodes Pwyll: "Nyt oed achaws gantunt hwy y erchi ymi yscar am gwreic, namyn am na bydei blant idi. Plant a wn i y uot idi hi; ac nyt yscaraf a hi. Or gwnaeth hitheu gam, kymeret y phenyt amdanaw." Hitheu Riannon a dyuynnwys attei athrawon a doethon. A gwedy bot yn degach genthi kymryt y phenyt noc ymdaeru ar gwraged, y phenyt a gymerth. Sef penyt, a dodet arnei [2]): bot yn y llys honno yn Arberth hyt ym penn y seith mlyned, ac ysgynuaen, (20.) a oed odieithyr y porth, eisted ohonei geyr llaw hwnnw beunyd, a dywedut y bawp, or a delei, or a debyckei [3]), nas gwypei, y gyfranc honno oll, ac, or a attei idi y dwyn, kynnic y westei a phellennic y dwyn ar y cheuyn yr llys. A damwein, y gadei yr vn y dwyn; ac uelly treulaw talym or vlwydyn a wnaeth.

Ac yn yr amser hwnnw yd oed yn arglwyd ar Went Iscoet Teirnyon Twyrf Vliant; ar gwr goreu yn y byt oed. Ac yn y ty yd oed cassec; ac nyt oed yn y teyrnas [4]) na march (31.*) na chassec degach no hi. A phob nos calan mei y moei. Ac ny wybydei neb un geir y wrth y hebawl. Sef a wnaeth Teirnon: ymdidan nossweith ae wreic: "Ha wreic, heb ef, llibin yd ym; bop blwydyn yn cadw eppil [5]) yn kassec heb gaffel yr vn ohonunt." "Beth a ellir wrth hynny?" heb hi. "Dial Duw arnaf! heb ef, nos galan mei yw heno, ony wybydaf i, pa dileith yssyd yn dwyn yr ebolyon!" Peri dodi [6]) y gassec y mywn ty a wnaeth; a gwiscaw arueu ymdanaw a oruc ynteu, a dechreu gwylat y nos. Ac ual y byd dechreu nos, moi y gassec ar ebawl mawr telediw, ac yn seuyll yn y lle. Sef a wnaeth Teirnon: kyuodi ac edrych ar praffter yr ebawl. Ac ual y byd uelly, ef a glywei twryf mawr; ac yn ol y twryf, llyma grauanc [7]) trwy ffenestyr ar y ty, ac yn ymauael ar ebawl geir y vwng. Sef a wnaeth ynteu Teirnon: tynnu cledyf a tharaw y vreich o not yr elin ymeith, ac yny vyd hynny or ureich ar ebawl gantaw ef y mywn. Ac ar hynny twryf a disgyr a gigleu y gyt. Agori y drws a oruc ef a dwyn ruthur [8]) yn ol y twryf. Ny

---

[1]) ac a ry wnaethoed   [2]) erni   [3]) debygei   [4]) dyrnas
[5]) gadu heppil   [6]) dwyn   [7]) + uawr   [8]) ruthyr

welei ef y twryf rac tywyllet (32.*) y nos; ruthur[1]) a duc yn y ol ae ymlit, a dyuot (21.) cof idaw adaw y drws yn agoret; ac ymchoelut[2]) a wnaeth. Ac wrth y drws, llyma vab bychan yn y gorn gwedy troi llenn o pali yn y gylch. Kymryt y mab a wnaeth attaw, a llyma y mab yn gryf yn yr oet, oed arnaw. Dodi caeat ar y drws a wnaeth a chyrchu yr ystauell, yd oed y wreic yndi. "Arglwydes, heb ef, ae kyscu, yd wyt ti?" "Nac ef, arglwyd, heb hi, mi a gysceis, a phan doethost ti y mywn, mi a deffroeis." "Y mae yma vab itt, heb ef, os mynny, yr hwnn ny bu itt eiryoet." "Arglwyd, heb hi, pa gyfranc uu hynny?" "Llyma oll", heb y Teirnon, a menegi y dadyl oll. "Je arglwyd, heb hi, pa ryw wisc yssyd am y mab?" "Llenn o bali," heb ynteu. "Mab y dynyon mwyn yw, heb hi. Arglwyd, heb hi, digrifwch a didanwch oed gennyf i, bei mynnvt ti. Mi a dygwn wraged yn vn a mi ac a dywedwn vy mot yn veichawc." "Miui a duunaf a thi yn llawen, heb ef, am hynny." Ac uelly y gwnaethpwyt. Peri a wnaethant bedydyaw y mab or bedyd, a wneit yna. Sef enw, a dodet arnaw: Gwri Wallt Euryn, yr hynn, a oed ar y benn o wallt, kynuelynet oed ar eur. Meithryn y mab a wnaethpwyt yn y (33.*) llys, yny oed vlwyd. A chynn y vlwyd yd oed yn kerdet yn gryf. A breiscach oed no mab teir-blwyd, a vei vawr y dwf ae ueint. Ar eil vlwydyn y magwyt y mab. A chynureisget oed a mab chwe-blwyd. A chyn penn y pedwyred vlwydyn yd oed yn ymoprau a gweisson y meirch am y adu oe dwyn yr dwfyr. "Arglwyd, heb y wreic wrth Teirnon, mae yr ebawl, a differeist di y nos, y keueist y mab?" "Mi ae gorchymmynneis y weisson y meirch[3]), heb ef, ac a ercheis synnyaw wrthaw." "Ponyt oed da itti, arglwyd, heb (22.) hi, peri y hywedu ae rodi yr mab? Kanys y nos, y keueist y mab, y ganet yr ebawl ac y differeist." "Nyt af i yn erbyn hynny, heb y Teirnon. Mi a adaf itti y rodi idaw." "Arglwyd, heb hi, Duw a dalho it! Minneu ae rodaf idaw." Yna y rodet y march yr mab. Ac y deuth hi att y gwastrodyon ac att weisson y meirch y orchymun synnyeit ar[4]) y march ae uot yn hywed, erbyn pan elei y mab y uarchogaeth, a chwedyl wrthaw.

---

[1]) ruthyr [2]) ymhwelut [3]) meirych [4]) wrth

Ymysc hynny wynt a glywsont chwedyldyaeth[1]) y wrth Riannon ac am y phoen. Sef a wnaeth Teirnon Twryf Uliant o achaws y douot, a gawssei: ymwrandaw[2]) am y chwedyl ac ymouyn yn (34.*) lut amdanaw, yny gigleu gan lawer o luossogrwyd, or a delei yr llys mynychu, kwynaw truanet damwein Riannon ae phoen. Sef a wnaeth Teirnon ynteu: medylyaw am hynny ac edrych ar y mab yn graff a chael yn y uedwl yn herwyd gweledigaeth, na ry welsei eiryoet mab a that kyndebycket ar mab y Pwyll penn Annwn. Ansawd Pwyll hyspys oed gantaw, kanys gwr uuassei idaw kyn no hynny. Ac yn ol hynny goueileint a delis yndaw o gamhet idaw attal y mab gantaw, ac ef yn gwybot y vot yn vab y wr arall. A phan gauas gyntaf o ysgaualwch ar y wreic, ef a uenegis idi hi, nat oed iawn udunt hwy attal y mab gantunt[3]) a gadu poen kymeint, ac a oed, ar wreicda kystal a Riannon or achaws hwnnw, ar mab yn vab y Pwyll penn Annwn. A hitheu, wreic Teirnon, a gytsynnywys ar anuon y mab y Pwyll. "A thri pheth, arglwyd, heb hi, a gaffwn ni o hynny: diolwch ac alwissen[4]) o ellwng Riannon or poen, y mae yndaw, a diolwch[5]) gan Pwyll am ueithryn y mab ae eturyt idaw; ar trydyd (23.) peth: os gwr mwyn, vyd y mab, mab maeth ynni vyd, a goreu, a allo vyth, a wna ynni." Ac ar y kynghor hwnnw y trigyassant.

Ac ny (35.*) bu hwy gantunt no thrannoeth, ymgyweiryaw[6]) a oruc Teirnon ar y drydyd marchawc ar mab yn pedwyryd gyt ac wynt ar y march, a rodassei Deirnon idaw. A cherdet parth ac Arberth a wnaethant; ac ny bu hir, y buant, yny doethant y Arberth. Pan doethant parth ar llys, wynt a welynt Riannon yn eisted yn ymyl[7]) yr ysgynuaen. Pan doethant ar[8]) ogyfuch a hi, "A vnbenn, heb hi, nac ewch bellach (a) hynny; mi a dygaf bop un ohonawch hyt y llys. A hynny yw vym penyt am lad ohonaf vy hun vy mab ae diuetha." "A wreicda, heb y Teirnon, ny thebygaf i y vn o hynn vynet ar dy geuyn di." "Aet, ae mynno, heb y mab, nyt af i!" "Dioer, eneit, heb y Teirnon, nyt awn ninheu."

---

[1]) chwedlydyaeth [2]) ymwarandaw [3] ganthaw [4]) elwissen [5]) diollwch [6]) ymgueiraw [7]) emmyl [8]) yn

Y llys a gyrchassant. A diruawr lewenyd[1]) a uu yn y herbyn; ac yn dechreu treulaw gwled yd oedit yn y llys. Ynteu Pwyll oed yn dyuot o gylchaw Dyuet. Yr neuad[2]) yd aethant ac y ymolchi. A llawen vu Pwyll wrth Teirnon. Ac y eisted yd aethant. Sef, ual yd eistedyssant: Teirnon yrwng Pwyll a Riannon, a deu gedymdeith Teirnon uch law[3]) Pwyll, ar mab yryngtunt. Gwedy daruot bwyta ar dechreu kyuedach ymdidan a wnaethant. Sef ymdidan, uu[4]) gan Teirnon: Menegi y holl gyfranc am y gassec ac am y mab, (36.*) a[5]) megys y buassei y mab ar y hardelw hwy, Teirnon ae wreic, ac y magyssynt.[6]) "Ac wel dy[7]) yna dy uab, arglwydes, heb y Teirnon. A phwybynnac a dywat[8]) geu arnat, cam a wnaeth. A minneu, pan gigleu y gouut, a oed arnat, trwm uu gennyf a doluryaw (24.) a wneuthum; ac ny thebygaf or niuer[9]) hwnn oll neb, nyt adnappo vot y mab yn uab y Pwyll," heb y Teirnon. "Nyt oes neb, heb y pawb, ny bo diheu gantaw hynny." "Yrof i a Duw, heb y Riannon, oed escor vym pryder ymi[10]), pei gwir hynny." "Arglwydes, heb y Pendaran Dyuet, da yd ennweist dy uab: Pryderi! a goreu y gweda arnaw Pryderi uab Pwyll penn Annwn." "Edrychwch, heb y Riannon, na bo goreu, y gwedo arnaw y enw e hun." "Mae yr enw?" heb y Penndaran Dyuet. "Gwri Wallt Euryn a dodyssom ni arnaw ef." "Pryderi, heb y Penndaran, uyd y enw ef." "Yawnhaf[11]) yw hwnnw[12]), heb y Pwyll, kymryt enw y mab y wrth y geir, a dywawt y uam, pan gauas llawen-chwedyl y wrthaw." Ac ar hynny y trigywyt.

"Teirnon, heb y Pwyll, Duw a dalo it ueithryn y mab hwnn hyt yr awr honn; a iawn yw idaw ynteu, or byd gwr mwyn, y dalu itti." "Arglwyd, heb y Teirnon, y wreic, ae magwys ef, nyt oes yn y byt dyn vwy y galar no hi yn y ol. Iawn yw idaw coffau ymi ac (37.*) yr wreic honno, a wnaethom yrdaw." "Yrof i a Duw, heb y Pwyll, tra barhawyf i, mi ath gynhalyaf, a thi ath gyuoeth, tra allwyf kynnal y meu vy hun. Os ynteu, a vyd iawnach, yw idaw

---

[1]) llywenyd [2]) yr yneuad [3]) uch llaw [4]) a uu [5]) ac *RB.* [6]) megyssynt [7]) wely dy [8]) dywot [9]) or yniuer [10]) im [11]) yawnahaf [12]) hynny

dy gynnal noc[1]) ymi. Ac os kyghor gennyt ti hynny a chan hynn o wyrda — canys megeist ti evo hyt yr awr honn — ni ae rodwn ar uaeth att Benndaran Dyuet o hynn allan; a bydwch gedymdeithon chwitheu a thatmaetheu idaw." "Kyngor iawn, heb y pawb, yw hwnnw."

Ac yna y rodet y mab y Penndaran Dyuet ac yd ymyrrwys gwyrda y wlat y gyt ac ef. Ac y kychwynnwy(s) Teirnon Toryf Vliant ae gedymdeithon yryngtaw ae wlat ac ae gyuoeth gan garyat a llew- (25.) enyd. Ac nyt aeth heb gynnic idaw y tlysseu teccaf ar meirch[2]) goreu ar cwn hoffaf; ac ny mynnwys ef dim. Yno y trigyassant wynteu ar eu kyuoeth. Ac y magwyt Pryderi uab Pwyll penn Annwn yn amgeledus, ual yd oed dylyet, yny oed delediwaf gwas a theckaf a chwplaf o bop camp da, oc a oed yn y deyrnas.[3]) Velly y treulassant blwydyn a blwydyned, yny doeth teruyn ar hoedyl Pwyll penn Annwn, ac y bu uarw. Ac y gwledychwys ynteu Pryderi seith cantref Dyuet yn llwydyannus, garedic gan y gyuoeth a chan pawb yn y gylch. Ac yn ol hynny y kynnydwys tri chantref Ystrat Tywi (38.*) a phedwar cantref Keredigyawn; ac y gelwir y rei hynny: seith gantref Seissyllwch. Ac ar y kynnyd hwnnw y bu ef Pryderi uab Pwyll penn Annwn, yny doeth yn y vryt wreicka. Sef gwreic, a vynnawd: Kicua, verch Wynn Gohoyw uab Gloyw Wallt Lydan uab Casnar Wledic o dylyedogyon yr ynys honn.

Ac uelly y teruyna y geing honn or mabynnogyon.

---

[1]) nogyt [2]) meirych [3]) dyrnas

## II.

## BRANWEN.

---

### Llyma yr eil geinc or mabinogi.[1])

Bendigeit Vran vab Llyr a oed vrenhin coronawc ar yr ynys honn ac arderchawc o goron Lundein. A phrynhawngweith yd oed yn Hardlech yn Ardudwy yn llys idaw; ac yn eisted yd oedynt ar garrec Hardlech uch penn y weilgi, a Manawydan uab Llyr, y vrawt, y gyt ac ef, a deu vroder un uam ac ef, Nissyen ac Efnissyen, a gwyrda y am hynny, ual y gwedei yg kylch brenhin. Y deu uroder vn uam ac ef meibon oedynt y Eurosswyd oe uam ynteu Penardim uerch Ueli uab Mynogan. Ar neill or gweisson hynny gwas da oed: ef a barei dangneued yrwng y deu lu[2]), pan vydynt lidyawckaf. Sef oed hwnnw: Nissyen. Y llall a barei ymlad rwng y deu uroder, pan uei uwyhaf, yd ymgerynt.

Ac ual yd oedynt yn eisted uelly, wynt a welynt teir llong ar dec yn dyuot o deheu Iwerdon ac yn kyrchu parth ac attunt, (39.*) a cherdet rugyl ebrwyd gantunt; y gwynt yn eu hol ac yn eu nessau yn ebrwyd attunt. "Mi a welaf longeu racco, heb y brenhin, ac yn dyuot yn ebrwyd[3]) parth ar tir; ac erchwch y wyr y llys wiscaw ymdanunt à mynet y edrych, pa uedwl yw yr eidunt." Y gwyr (27.) a wiscwys[4]) ymdanunt, ac a nessayssant attunt y waeret. Gwedy gwelet y llongeu o agos diheu oed gantunt, na welsynt[5]) llongeu gyweiryach y hansawd noc wynt: Arwydon tec gwedus[6]) o bali a oed arnunt. Ac ar hynny, nachaf un or llongeu yn raculaenu rac y rei ereill. Ac y gwelynt dyrchauael taryan yn vch no bwrd y llong, a swch y daryan y uynyd yn arwyd

---

[1]) *fehlt in WB.* [2]) y deulu *RB.* [3]) hy [4]) wiscawd [5]) + eiryoet [6]) + arwreid



tangneued; ac y nessawys y gwyr attunt, ual yd ymglywynt ymdidan. Bwrw badeu allan a wnaethant wynteu a nessav parth ar tir a chyfarch gwell yr brenhin. Y brenhin ae clywei wynteu or lle, yd oed ar garrec uchel uch eu penn. "Duw a rodho da ywch, heb ef, a graessaw wrthywch! Pieu y niuer llongeu[1]) hynn? a phwy yssyd bennaf arnunt wy?" "Arglwyd, heb wynt, y mae yma Matholwch, brenhin Iwerdon, ac ef, bieu y llongeu." "Beth, heb y brenhin, a uynnei ef? A vynn ef dyuot yr tir?" "Na vynn, arglwyd, heb wynt, — negessawl (40.*) yw wrthyt ti — onyt y neges a geiff." "Py ryw neges yw yr eidaw ef?", heb y brenhin. "Mynnu ymgyfathrachu a thydi, arglwyd, heb wynt; y erchi Branwen uerch Lyr y doeth ef. Ac os da gennyt ti, ef a uynn ymrwymaw Ynys y Kedyrn[2]) ac Iwerdon y gyt, ual y bydynt gadarnach." "Je, heb ynteu, doet yr tir, a chynghor a gymerwn ninheu am hynny." Yr atteb hwnnw a aeth attaw ef. "Minneu a af yn llawen", heb ef. Ef a doeth yr tir, a llawen uuwyt wrthaw; a dygyuor mawr a vu yn y llys y nos honno yrwng y niueroed ef a niueroed[3]) y llys. Yn y lle drannoeth kymryt kyngor. Sef a gahat yn y kynghor hwnnw: rodi Branwen y Uatholwch. A honno oed dryded prif-riein[4]) yn yr ynys honn; teckaf (28.) morwyn yn y byt oed. A gwneuthur oet yn Aberffraw y gyscu genthi. Ac odyno y gychwynnu.

Ac y kychwynnassant y niueroed[5]) hynny parth ac Aberffraw: Matholwch ae niueroed[6]) yn y llongeu, Bendigeit Uran ae niueroed[7]) ynteu ar tir, yny doethant hyt yn Aberffraw. Yn Aberffraw dechreu y wled ac eisted. Sef, ual yd eistedassant: brenhin Ynys y Kedyrn[2]) a Manawydan uab Llyr or neill parth[8]), a Matholwch or parth arall, a Brannwen uerch Lyr gyt ac ynteu. Nyt y mywn ty yd oedynt namyn y mywn palleu; nyt eyngassei[9]) Vendigeit Uran eiryoet mywn ty. (41.*) Ar gyuedach a dechreuassant. Dilit y gyuedach a wnaethant ac ymdidan. A phan welssant bot yn well udunt kymrut hun no dilit kyuedach, y gyscu yd aethant. Ar nos

---

[1]) yniuer y llongeu [2]) Kedeirn [3]) yrwng e yniuer ef ac yniuer [4]) *RB. u. WB.* prif rieni [5]) yr yniueroed [6]) ay yniueroed [7]) ayniuer [8]) + idaw [9]) ny angassei

honno y kyscwys Matholwch a Brannwen ygyt.[1]) A thrannoeth kyuodi a orugant pawb o niuer y llys, ar swydwyr a dechreuassant ymaruar am rannyat y meirch[2]) ar gweisson. Ac eu rannu a wnaethant ym pob kyueir hyt y mor.

Ac ar hynny dydgweith, nachaf Efnyssyn, gwr anhagneuedus, a dywedassam ni uchot, yn dywannu y letty meirch Matholwch; a gofyn a wnaeth, pioed y meirch. "Meirch[2]) Matholwch, brenhin Iwerdon, yw y rei hynn", heb wy. "Beth a wnant hwy yma?" heb ef. "Yma y mae brenhin Iwerdon, ac yr gyscwys gan Vrannwen, dy whaer[3]); ae ueirch[4]) yw y rei hynn." "Ae uelly, y gwnaethant wy am vorwyn kystal a honno ac yn chwaer y minneu, y rodi heb vyg kennyat[5]) i?! Ny ellynt wy tremic vwy arnaf i no hwnnw," heb ef. Ac yn hynny gwan y dan y meirch[2]) a thorri y gweflleu wrth y danned udunt ar clusteu wrth y pen(29.)neu ar rawn wrth y keuyn; ar[6]) ny chaei graf ar yr amranneu, y lladei[7]) wrth yr ascwrn, a gwneuthur anfuryf ar y meirch[2]) uelly, hyt nat oed rym, a ellit ar meirch[2]).

Y chwedyl a doeth att Uatholwch. Sef, ual y doeth: dywedut (42.*) anffuruaw y veirch[4]) ac eu llygru, hyt nat oed un mwynant, a ellit ohonunt. "Je, arglwyd, heb yr vn, dy waratwydaw a[8]) wnaethpwyt, a hynny a uynnir y wneuthur ytti[9])." "Dioer, eres yw gennyf, os vyg gwaradwydaw, a vynnynt, rodi morwyn gystal kyuurd kynannwylet gan y chenedyl, ac a rodyssant ym." "Arglwyd, heb un arall, ti a wely dangos, mae[10]) ef; ac nyt oes itt, a wnelych, namyn kyrchu dy longeu." Ac ar hynny arouun y longeu a wnaeth ef.

Y chwedyl a doeth at Vendigeit Uran bot Matholwch yn adaw y llys heb ovyn[11]) kenyat[12]). A chennadeu a aeth y ouyn idaw, paham oed hynny. Sef kennadeu, a aeth: Idic uab Anarawc ac Eueyd Hir. Y gwyr hynny ae gordiwedawd[13]) ac a ovynnassant idaw, pa darpar oed yr eidaw, a pha achaws yd oed yn mynet ymeith. "Dioer, heb ynteu, pei ys gwypwn, ny down yma. Cwbyl waratwyd a geueis; ac ny duc neb

---

[1]) gan U. [2]) meirych [3]) chwaer [4]) ueirych [5]) vyghanyat [6]) ac [7]) eu llad [8]) yr a [9]) a thi [10]) — mae [11]) + heb [12]) ganhyat [13]) godiwawd

kyrch waeth, noc a dugum[1]) i yma; a ryuedawt ry gyueryw[2]) a mi." "Beth yw hynny?" heb wynt. "Rodi Brannwen[3]) uerch Lyr ym, yn tryded prif-riein[4]) yr ynys honn ac yn uerch y vrenhin Ynys y Kedyrn[5]), a chyscu genthi, a gwedy hynny vyg gwaradwydaw. A ryued oed gennyf, nat kynn rodi morwyn gystal a honno ym, y gwneit y (43.*) gwaratwyd, a wnelit ym." "Dioer, arglwyd, nyt o uod y neb, a vedei y llys, heb wynt, na neb oe gyghor, y gwnaethpwyt y gwaratwyd hwnnw ytti. A chyt bo gwaratwyd gennyt ti hynny, mwy yw gan (30.) Uendigeit Uran no chennyt ti y tremic hwnnw ar gware." "Je, heb ef, mi a tebygaf; ac eissoes ny eill ef vy niwaratwydaw i o hynny."

Y gwyr hynny a ymchoelassant[6]) ar atteb hwnnw parth ar lle, yd oed Vendigeit Uran, a menegi idaw yr atteb, a rodassei[7]) Uatholwch. "Ie, heb ynteu, nyt oes ymwaret oe[8]) vynet ef yn anygneuedus, ac nys gadwn." "Ie, arglwyd, heb wy, anuon ettwa gennadeu yn y ol." "Anuonaf, heb ef. Kyuodwch, Vanawydan uab Llyr ac Eueyd Hir ac Unic Glew Yscwyd, ac ewch yn y ol, heb ef, a menegwch idaw: ef a geiff march iach am bop un, or a lygrwyt. Ac y gyt a hynny ef a geiff yn wynabwarth[9]) idaw llathen[10]) aryant, a uo kyvref a chyhyt ac ef e hun, a chlawr eur kyflet ae wyneb. A menegwch idaw, py[11]) ryw wr a wnaeth hynny, a phan yw om anuod inneu, y gwnaethpwyt hynny. Ac y mae brawt un uam a mi, a wnaeth hynny, ac nat hawd gennyf ynheu nae lad ef nae diuetha. A doet y ymwelet a mi, heb ef, a mi a wnaf y dangneued ar y llun, (44.*) y mynno e hun."

Y kennadeu a aethant ar ol Matholwch ac a uanagassant idaw yr ymadrawd hwnnw yn garedic. Ac ef ae gwarandewis[12]): "A wyr, heb ef, ni a gymerwn gynghor." Ef a aeth yn y gynghor. Sef kynghor, a uedylyassant: Os gwrthot hynny, a wnelynt, bot yn debygach gantunt kael kewilid, a uei vwy, no chael iawn, a vei gymeint[13]). A diskynnu a wnaeth ar gymryt hynny.

---

[1]) nor dugum [2]) ry gynneryw *RB.* [3]) Bronwen [4]) prif-rieni *RB. u. WB.* [5]) Kedeyrn [6]) ymchwelwys [7]) diwedyssei [8]) e [9]) wynepwerth [10]) llatheu *RB.* [11]) pa [12]) guerendewis [13]) uwy

Ac yr llys y doethant yn dangneuedus. A chweiryaw[1]) y pebylleu ar palleu a wnaethant udunt ar ureint kyweirdeb neuad[2]), a mynet y vwyta. Ac ual y dechreuassynt eisted ar dechreu y wled, yd eistedassant yna; a dechreu ymdidan a wnaeth Matholwch (31.) a Bendigeit Uran. Ac nachaf, yn ardiawc gan Vendigeit Uran yn ymdidan ac yn drist am y warth[3]), a gaei[4]) Vatholwch, ae lewenyd yn wastat kyn no hynny. A medylyaw a oruc[5]) bot yn athrist gan yr unben vychanet, a gawssei o iawn am y gam. "A wr, heb y Bendigeit Uran, nyt wyt gystal ymdidanwr heno ac un nos, ac os yr bychenet[6]) gennyt ti dy iawn, ti a gey[7]) ychwanegu it wrth dy vynnu dy hun, ac auory talu dy ueirch itt." "Arglwyd, heb ef, Duw a dalo itt!" "Mi a delediwaf dy iawn heuyt it, heb y Bendigeit Uran; mi a rodaf it peir; a chynnedyf y peir yw: (45.*) y gwr, a lader hediw it, y vwrw yn y peir ac erbyn auory y vot yn gystal, ac y bu oreu, eithyr na byd llyueryd gantaw." A diolwch a wnaeth ynteu hynny, a diruawr lewenyd a gymerth yndaw[8]) or achaws hwnnw. A thrannoeth y talwyt y ueirch[9]) idaw, tra barhaawd meirch[10]) dof. Ac odyna y kyrchwyt ac ef kymwt arall ac y talwyt ebolyon idaw, yny uu gwbyl idaw y dal. Ac wrth hynny y dodet ar y kymmwt hwnnw o hynny allan Tal Ebolyon. Ar eil nos eisted y gyt a wnaethant. "Arglwyd, heb y Matholwch, pan doeth ytti y peir, a rodeist ymi?" "Ef a doeth ym, heb ef, y gan wr, a uu yth wlat ti; ac ny wnn, na bo yno, y kaffo." "Pwy oed hwnnw?" heb ef. "Llassar Llaesgyfnewit, heb ef. A hwnnw a doeth yma o Iwerdon a Chymideu[11]) Kymeinuoll y wreic y gyt ac ef. Ac a diangyssant or ty haearn yn Iwerdon, pan wnaethpwyt yn wynnyas[12]) yn eu kylch; ac y dihangyssant odyno. Ac eres yw gennyf i, ony wdost ti dim y wrth hynny." "Gwn, arglwyd, heb ef, a chymeint, ac a wnn, mi ae managaf yti: Yn hela yd oedwn yn Iwerdon dydgweith ar (32.) benn gorsed[13]), a oed uch pen llynn yn Iwerdon; a Llynn y Peir y gelwit. A mi a welwn gwr melyn-goch mawr yn dyuot

---

[1]) chyweiraw [2]) yneuad [3]) — *WB.* [4]) + gan *RB. u. WB.* [*falsch!*] [5]) wnaeth [6]) bychanet [7]) gehy [8]) ynteu [9]) ueirych [10]) meirych [11]) Chymidei [12]) wenn [13]) gossed

or llynn a pheir ar y gefyn; a gwr athrugar mawr a drycweith auorles[1]) arnaw oed; a gwreic yn y ol. Ac ot (46.*) oed vawr ef, mwy dwyweith oed y wreic noc ef. A chyrchu attaf a wnaethant a chyfuarch gwell im. ""Ie, heb y mi, pa gerdet yssyd arnawch chwi?"" ""Llyna y ryw gerdet, arglwyd, yssyd arnam ni, heb ef: Y wreic honn ym penn pythewnos a mis y byd beichogi idi; ar mab, a aner yna or torllwyth hwnnw ar benn y pythewnos ar mis, y byd gwr ymlad llawn-aruawc."" Y kymereis ynneu arnaf y gossymdeithaw wyntwy; ac y buant vlwydyn y gyt a mi. Yn y vlwydyn y keueis yn diwarauun wynt; o hyny allan y gwarauunwyt im. A chyn penn y pedwyryd mis[2]) wynt e hun yn peri eu hatgassau[3]) ac aghynnwys yn y wlat yn gwneuthur sarhaedeu[4]), ac yn eighaw ac yn gouutyaw gwyrda a gwragedda. O hynny allan y dygyuores vyg kyuoeth am vym pen y erchi im ymvadeu ac wynt, a rodi dewis im ae vyng kyuoeth ae wynt. Y dodeis ynneu ar gynghor vyg gwlat, beth a wnelit[5]) amdanunt. Nyt eynt hwy oe bod, nyt oed reit udunt wynteu oe[6]) hanuod herwyd ymlad vynet. Ac yna yn y kyuyng-gynghor y kawssant gwneuthur ystauell haearn oll. A gwedy bot yn barawt yr ystauell dyuynnu[7]), a oed o of yn Iwerdon yno, or a oed o berchen geueyl a myrthwl[8]), a pheri gossot kyuuch a chrib yr ystauell o lo, a pheri gwassanaethu (47.*) yn diwall o vwyt a llyn arnunt, ar y wreic ae gwr ae phlant. A phan wybuwyt eu medwi wynteu, y dechreuit[9]) kymyscu y tan ar glo am benn yr ystauell (33.) a chwythu y megineu, [a oed wedy eu gossot yg kylch y ty, a gwr a pob dwy uegin, a dechreu chwythu y megineu,] yny vyd y ty yn bur-wenn am eu penn. Ac yna y bu y kynghor gantunt ym perued[10]) llawr yr ystauell; ac yd arhoes ef, yny vyd y pleit hayarn yn wenn. Ac rac diruawr wres y kyrchwys y pleit ae yscwyd ae tharaw gantaw allan, ac yn y ol ynteu y wreic. A neb ny dihengis[11]) odyno namyn ef ae wreic. Ac yna, om tebygu i, arglwyd, heb y Matholwch wrth Vendigeit Uran, y doeth ef drwod

---

[1]) anorles [2]) — mis ! [3]) hatcassu [4]) sarahedeu [5]) wneit
[6]) oc eu [7]) dyuyn [8]) geuel a mwrthwl [9]) dechreuwyt
[10]) ymherued [11]) dieghis

attat ti." "Yna, dioer, heb ynteu, y doeth yma ac y rodes[1]) y peir y minheu." "Pa delw, arglwyd, yd erbynneist ti wyntwy?" "Eu rannu ym pob lle yn y kyuoeth. Ac y maent yn lluossawc ac yn dyrchauel ym pob lle ac yn kadarnhau yn y uann, y bont[2]), o wyr ac arueu goreu, a welas neb."

Dilit ymdidan a wnaethant y nos honno, tra uu da gantunt, a cherd a chyuedach; a phan welsant vot yn llessach udunt uynet y gyscu noc eisted, a uei hwy, y gyscu yd aethant. Ac uelly y treulassant y wled honno trwy digrifwch.

Ac (48.*) yn niwed hynny y kychwynnwys Matholwch a Brannwen gyt ac ef parth ac Iwerdon. A hynny o Aber Menei y kychwynnassant teir llong ar dec, ac y doethant hyt yn Iwerdon. Yn Iwerdon diruawr lewenyd a uu wrthunt. Ny doei wr mawr na gwreicda yn Iwerdon y ymwelet[3]) a Brannwen, ny rodei hi ae cae ae modrwy ae teyrndlws cadwedic idaw, a uei arbennic y welet, yn mynet ymeith. Ac ymysc hynny y vlwydyn honno a duc hi yn glotuawr, a hwyl dělediw a duc hi o glot a chedymdeithon. A beichogi a damweinwys idi y gael yn hynny. A gwedy treulaw yr amseroed dylyedus mab a anet idi. Sef enw, a dodet arnaw: Gwern uab Matholwch. Rodi y mab ar uaeth (34.) a wnaethpwyt yr[4]) un lle goreu y wyr yn Iwerdon.

A hynny yn yr eil ulwydyn, llyma ymodwrd yn Iwerdon am y gwaratwyd, a gawssei Vatholwch yg Kymry, ar som, a wnathoedit idaw am y veirch. A hynny y urodyr maeth ar rei[5]) nessaf gantaw yn lliwaw idaw hynny heb y gelu; ac nachaf, y dygyuor yn Iwerdon, hyt nat oed lonyd idaw, ony chaei dial y sarhaet[6]). Sef dial, a wnaethant: gyrru Brannwen o vn ystauell ac ef ae chymell y bobi yn y llys a pheri yr kigyd, gwedy y bei yn dryllyaw kic, dyuot idi a tharaw bonclust arnei beunyd. Ac uelly (49.*) y gwnaethpwyt y phoen. "Ie arglwyd, heb y wyr wrth Uatholwch, par weithon wahard y llongeu ar ysgraffeu ar corygeu, ual nat el neb y Gymry; ac, a del yma o Gymry, carchara wynt, hyt nat elont[7]) dracheuyn, rac gwybot hynn." Ac ar

---

1) roes  2) yn cadarnhau y uann, y bythont,  3) ymwlet
4) ar  5) gwyr  6) sarahet  7) ua(l) na at

hynny y disgynnyssant. Blwynyded nyt llei no their y buant uelly.

Ac yn hynny meithryn ederyn drytwen a wnaeth hitheu ar dal y noe gyt a hi a dyscu ieith idi a menegi yr ederyn y ryw wr, oed y brawt, a dwyn llythyr y poeneu ar amarch, a oed arnei hitheu. Ar llythyr a rwymwyt am von esgyll yr ederyn, ae anuon parth a Chymry. Ar ederyn a doeth yr ynys honn. Sef lle, y kauas Uendigeit Uran: yg Kaer Seint yn Aruon, yn dadleu idaw dydgweith. A disgynnu ar y yscwyd a garwhau y phluf, yny arganuuwyt y llythyr, ac adnabot meithryn yr ederyn yg kyuanned. Ac yna kymryt y llythyr ae edrych. A phan darllewyt y llythyr, doluryaw a wnaeth Bendigeit Uran o glybot y poen, a oed ar Vranwen, a dechreu or lle hwnnw[1]) anuon kenadeu y dygyforyaw yr ynys honn y gyt. Ac yna y peris ef dyuot llwyrwys pedeir-dec gwlat[2]) a seith-ugeint (35.) hyt attaw. Ac e hun kwynaw wrth hynny bot y poen, a oed ar y chwaer. Ac yna kymryt kynghor. Sef kynghor, a gahat: kyrchu Iwerdon ac adaw seith wyr yn tywyssogyon yma, a Chradawc uab Bran yn bennaf ac eu seith (50.*) marchawc. Yn Edeirnon yd edewit y gwyr hynny. Ac o achaws hynny y dodet Seith Marchawc ar y dref. Sef seith wyr oedynt: Cradawc uab Bran ac Eueyd Hir ac Vnic Glew Yscwyd ac Idic uab Anarawc Walltgrwn a Ffodor uab Eruyll ac Wlch Minascwrn a Llashar uab Llaessar Llaesgygwyd, a Phendaran Dyuet yn was ieuanc gyt ac wy. Y seith hynny a dricywys yn seith kynweissat y synnyaw ar yr ynys honn. A Chradawc uab Bran yn bennaf kynnweissyat arnunt.

Bendigeit Uran ar niuer[3]), a dywedassam ni, a hwylyassant parth ac Iwerdon. Ac nyt oed uawr y weilgi yna; y ueis yd aeth ef. Nyt oed namyn dwy auon: Lli ac Archan y gelwit. A gwedy hynny yd amylhawys[4]) y weilgi [, pan oreskynwys y weilgi] y teyrnassoed. Ac yna y kerdwys ef ac, a oed o gerd arwest, ar y geuyn e hun, a chyrchu tir Iwerdon. A meicheit Matholwch oed[5]) ar lan y weilgi [dydgueith yn troi yg kylch eu moch. Ac o achaws dremynt, a welsant ar y weilgi,] wynt a doethant att Vatholwch: "Arglwyd, heb wy,

---

[1]) + peri [2]) pedeir gwlat ... *RB.*; pedeir degwlat ... *WB.* (*cp.* 35 21) [3]) ar yniuer [4]) amlawys [5]) a oedynt



henpych gwell!" "Duw a rodo da ywch! heb ef. A chwedleu y gennwch?" "Arglwyd, heb wy, mae gennyn[1]) ni chwedleu enryued[2]): coet ry welsom ar y weilgi yn y lle, ny welsam eiryoet vn prenn." "Llyna beth eres, heb ef; a welewch chwi dim namyn hynny?" "Gwelem, arglwyd, heb wy, mynyd (51.*) mawr geir llaw y coet, a hwnnw ar gerdet; ac esgeir aruchel ar y mynyd, a llyn o pob parth or esgeir. Ar coet ar mynyd a phop peth o hynny oll ar gerdet." "Ie, heb ynteu, nyt oes neb yma, a wypo (dim) (36.) y wrth hynny, onys gwyr Branwen; go(uynnwch idi)." Kennadeu a aeth att Uranwen. "Arglwydes, heb wy, beth — debygy di — yw hynny?" ["Kyn ny bwyf· arglwydes, heb hi, mi a wnn, beth yw hynny]: Gwyr Ynys y Kedyrn yn dyuot drwad o glybot vym poen i am hamarch." "Beth yw y coet, a welat ar y mor?" heb wy. "Gwerneneu[3]) llogeu a hwylbrenni," heb hi. "Och, heb wy, beth oed y mynyd, a welit gan ystlys y llongeu?" "Bendigeit Uran, vy mrawt i, heb hi, oed hwnnw yn dyuot y ueis; nyt oed log, y kyghanei ef yndi." "Beth oed yr esgeir aruchel ar llyn o bop parth yr esgeir?" "Ef, heb hi, yn edrych ar yr ynys honn llidiawc yw. Y deu lygat ef o pob parth y drwyn yw y dwy lynn o bop parth yr esceir." Ac yna dygyuor holl wyr ymlad Iwerdon a wnaethpwyt y gyt ar holl uorbennyd yn gyflym; a chyngor a gymerwyt. "Arglwyd, heb y wyrda wrth Vatholwch, nyt oes gynghor namyn kiliaw drwy Linon auon, a oed yn Iwerdon, a gadu Llinon yrot ac ef, a thorri y bont, yssyd ar yr avon. (52.*) A mein sugyn, yssyd yg gwaelawt yr auon, ny eill na llong na llestyr arnei." Wynt a gilyassant drwy yr auon ac a torrassant y pont. Bendigeit Uran a doeth yr tir a llyghes y gyt ac ef parth a glann yr auon. "Arglwyd, heb y wyrda, ti a wdost kynnedyf yr auon: ny eill neb vynet drwydi; nyt oes bont arnei hitheu. Mae dy gynghor am bont?" heb wy. "Nyt oes, heb ynteu, namyn[4]), a vo penn, bit bont. Miui a uydaf bont," heb ef. Ac yna gyntaf y dywetpwyt y geir hwnnw ac y diaerebir[5]) ettwa ohonaw. Ac yna gwedy gorwed ohonaw ef ar traws yr auon y byrywyt clwyteu arnaw ef;

---

1) **genhym** 2) **ryued** 3) **gwernenni** 4) *Beginn des Fragm. in Pen. 6* 5) **diharebir** *WB.*, **diarhebir** *P. 6*

ac yd aeth y luoed[1]) ef ar y draws drwod. Ar hynny, gyt ac y k(y)uodes ef, llyma gennadeu Matholwch[2]) (37.) yn dyuot attaw ac yn kyuarch gwell idaw ac yn y annerch y gan Uatholwch[2]), y gyuathrachwr, ac yn menegi, oe vod ef na haedei[3]) arnaw namyn da. "Ac y mae Matholwch[2]) yn rodi brenhinyaeth Iwerdon y Wern uab Matholwch[2]), dy nei ditheu, uab dy chwaer, ac yn y estynnu[4]) yth wyd di yn lle y cam ar codyant, a wnaethpwyt y Vrannwen; ac yn y lle, y mynnych ditheu, ae yma ae yn Ynys y Kedyrn, gossymdeitha Uatholwch[2])." "Ie, heb ynteu Vendigeit Uran, ony allaf i vy hun cael y vrenhinyaeth, ac atuyd, ys kymeraf gyghor (53.*) am ych kennadwri chwi. O hynn, hyt pan del[5]) amgen, ny cheffwch[6]) y gennyf i atteb[7])." "Ie, heb wynteu, yr atteb goreu, a gaffom ninneu attat ti, ni a down ac ef; ac aro ditheu yn kennadwri ninheu." "Arhoaf; heb ef, a[8]) dowch yn ebrwyd[9])!"

Y kennadeu a gyrchassant[10]) racdu ac att Vatholwch[2]) y doethant. "Arglwyd, heb wy, kyweira atteb, a uo gwell, att[11]) Vendigeit Uran; ny warandawei dim or atteb, a aeth y gennym ni attaw." "Ha wyr, heb y Matholwch[2]), mae ych kynghor chwi?" "Arglwyd, heb wy, nyt oes itt gyghor namyn vn: Nyt eigwys[12]) ef y mywn ty eiryoet, heb wy. Gwna ty, heb wynt [oy anryded ef][13]), y geingho[14]) ef a gwyr Ynys y Kedyrn yn y neill parth[15]) yr ty, a thitheu ath lu yn y parth arall. A dyro[16]) dy urenhinyaeth yn y ewyllys a gwrha idaw. Ac o enryded gwneuthur y ty, heb wynt, peth, nys kauas[17]) eiryoet, ty, y geinghei[18]) yndaw, ef a tangneuedha a thi!" Ar kennadeu a aethant[19]) ar gennadwri honno gantunt att[11]) Uendigeit Uran. Ac ynteu a gymerth kynghor[20]). Sef a gauas yn y gynghor: Kymryt hynny. A thrwy gynghor Branwen uu hynny oll, ac rac llygru y wlat, oed genti hitheu hynny.

---

[1]) lu *P. 6* [2]) Mallolwch *P. 6* [3]) haethei *P. 6* [4]) + itaw *P. 6* [5]) hyd hynny *P. 6* [6]) ny chewch ...; amgen *fehlt P. 6* [7]) + eny del gennwch amgen, noc a doeth *P. 6* [8]) o *WB. u. P. 6* [9]) ehegyr *WB. u. P. 6* [10]) gerdassant *P. 6* [11]) ar *P. 6* [12]) ni enghis *WB.* ny ennis *P. 6* [13]) *auch in P. 6* [14]) ganho *WB.* ganno *P. 6* [15]) stlys *P. 6* [16]) doro [17]) ny chauas *WB.* ny gafas *P. 6* [18]) ganhei *WB.* gannei *P. 6* [19]) doethant *P. 6 u. WB.* [20]) gymyrth kymyrth (*sic*) *P. 6*

Y dang(38.)neued honno a gyweirwyt, ar ty a ateilwyt yn uawr ac yn braff; ac ystryw[1]) a wnaeth y Gwydyl. Sef ystryw[1]), a wnaethant: dodi gwanas o bop parth (54.*) y bop colouyn o cant colofyn, a oed yn y ty, a dodi boly croen ar bop gwanas[2]), a gwr aruawc ym pob un ohonunt[3]). Sef a wnaeth Efnyssyen: dyuot ym blaen llu Ynys y Kedyrn y mywn ac edrych golygon orwyllt[4]) antrugarawc ar hyt y ty, ac arganuot y bolyeu[5]) crwyn a wnaeth ar hyt y pyst. "Beth yssyd yn y boly hwnn?" heb ef wrth un or Gwydyl. "Blawt, eneit," heb ef. Sef a wnaeth ynteu: y deimlaw, hyt pan gauas y benn, a gwascu y benn, yny glyw y vyssed yn ymanodi yn y vreithell[6]) drwy yr ascwrn. Ac adaw hwnnw, a dodi y law[7]) ar vn arall, a gouyn: "Beth yssyd yma?" "Blawt," medei y Gwydyl. Sef a wnaey ynteu: yr un gware a phawb ohonunt, hyt nat edewis ef wr byw or holl wyr or deu can wr eithyr un. A dyuot at hwnnw a gouyn: "Beth yssyd yma?" "Blawt, eneit," heb y Gwydyl. Sef a[8]) wnaeth ynteu: y deimlaw ef, yny gauas y benn; ac ual y gwascassei benneu y rei ereill, gwascu penn hwnnw. Sef, y clywei: arueu am benn hwnnw; nyt ymedewis ef a hwnnw, yny lladawd. Ac yna canu eglyn:

"Yssit yn y boly hwnn amryw vlawt,
Keimeit kynniuyeit, disgynneit yn trin,
Rac kytwyr cat barawt."

Ac ar hynny y dothyw y niueroed yr ty; ac y doeth gwyr o ynys Iwerd(55.*)on yr ty or neill parth a gwyr o Ynys y Kedyrn or parth arall. Ac yn gynebrwydet, ac yd eistedassant, y bu duundeb y ryngtunt[9]), ac yd estynnwyt y urenhinyaeth yr mab.

Ac yna, gwedy daruot y dang(ne)ued, galw o Vendigeit Uran y mab attaw. Y gan Vendigeit Uran y kyrchawd y mab att Uanyw(39.)ydan[10]). A phawb, or ae gwelei, yn y garu. Y gan Uanawydan y gelwis Nyssyen uab Eurosswyd y mab attaw. Y mab a aeth attaw yn diryon. "Paham, heb yr Efnyssyn, na daw uy nei, uab vy chwaer, attaf i? Kyn

---

[1]) ac stryw *P. 6* [2]) bop un or gwanasseu *P. 6* [3]) onadunt *P. 6* [4]) arwyllt [5]) byly *P. 6* [6]) vreichell [7]) y llaw [8]) *Schluß des Fragm. Pen. 6* [9]) y rydunt [10]) Uanywydan *RB.*

ny bei urenhin ar Iwerdon, da oed gennyf i ymdirioni ar mab." "Aet yn llawen," heb y Bendigeit Uran. Y mab a aeth attaw yn llawen. "Y Duw y dygaf vyng kyffes, heb ynteu yn y uedwl, ys anhebic a gyflauan gan y tylwyth y gwneuthur[1]), a wnaf i yr awr honn." A chyuodi y uynyd a chymryt y mab herwyd y draet ac heb ohir, kynn kael[2]) o dyn yn y ty gauael arnaw, yny want y mab yn wysc y benn yn y gynneu tan. A phan welas Branwenn y mab yn boeth yn y tan, hi a gyngytywys[3]) bwrw neit yn y tan or lle, yd oed yn eisted rwng y deu uroder. A chael o Uendigeit Uran hi yn y neill law ae taryan yn y llaw arall. Ac yna ymgyuoc[4]) (56.*) o bawp ar hyt y ty. A llyna y godwrd[5]) mwyhaf, a uu gan niuer[6]) un ty; pawb yn kymryt y arueu. Ac yna y dywawt Mordwyt Tyllyon: "Gwern gwngwch uiwch Uordwyt Tyllyon."

Ac yny[7]) aeth pawp ym penn y arueu, y kynhelis[8]) Bendigeit Uran Vranwen yrwng y daryan ae yscwyd. Ac yna y dechreuis y Gwydyl kynneu tan dan y peir dateni; ac yna y byrywt y kalaned yn y peir, yny uei yn llawn; ac y kyuodynt drannoeth[9]) yn wyr ymlad yn gystal a chynt, eithyr na ellynt dywedut. Ac yna, pan welas Efnyssyn y kalaned heb eni yn vn lle o wyr Ynys y Kedyrn, y dywawt yn y uedwl: "Oi a Duw, heb ef, gwae vi vy mot yn achaws yr wydwic honn o wyr Ynys y Kedyrn! A meuyl ym, heb ef, ony cheissaf i waret rac hynn!" Ac ymedyryaw ym plith calaned y Gwydyl. A dyuot deu (40.) Wydel uonllwm idaw ae vwrw yn y peir yn rith Gwydel. Ymestynnu idaw ynteu yn y peir, yny tyrr y peir yn pedwar dryll, ac yny tyrr y gallon[10]) ynteu. Ac o hynny y bu y meint goruot, a uu y wyr Ynys y Kedyrn. Ny bu oruot o hynny eithyr dianc seith wyr a brathu Bendigeit Uran yn y troet a gwenwyn-waew. Sef seith wyr, a dihengis: Pryderi, Manawydan, Gliuieri[11]) Eil Taran, Ta(57.*)lyessin ac Ynawc, Grudyeu uab Muryel, Heilyn uab Gwynn Hen. Ac yna y peris Bendigeit Uran llad y benn: "A chymerwch chwi y penn, heb ef, a dygwch hyt

---

[1]) y wneuthur [2]) na chael [3]) gynsynwys [4]) ymgyuot [5]) godwrw [6]) yniuer [7]) yn yd [8]) kynhellis *RB* [9]) + y bore [10]) galon [11]) Gliuieu

y Gwynurynn yn Llundein, a chledwch yno ef ae wyneb ar Freinc. A chwi a vydwch ar y fford yn hir; yn Hardlech y bydwch seith mlyned ar ginyaw ac adar Riannon yn canu ywch. Ar penn a uyd kystal gennwch y gedymdeithas, ac y bu oreu gennwch, pan uu arnaf i eiryoet. Ac yg Gwales ym Penuro y bydwch pedwar ugeint mlyned. Ac yny agoroch y drws parth ac Aber Henuelen[1]) y tu a Chernyw, y gellwch uot yno ar penn yn dilwgyr gennwch; ac or pann agoroch y drws hwnnw, ny ellwch uot yno. Kyrchwch Lundein y gladu y penn, a chyrchwch chwi ragoch drwod." Ac yna y llas y benn ef.

Ac y kychwynnassant ar penn gantunt[2]) drwod y seith wyr hynny, a Branwen yn wythuet. Ac y Aber Alaw yn Tal Ebolyon y doethant yr tir; ac yno eisted a wnaethant a gorffowys. Edrych oheni hitheu ar Iwerdon ac ar Ynys y Kedyrn, a welei ohonunt: "Oi a uab Duw, heb hi, gwae ui[3]) om ganedigaeth ! ys da dwy[4]) ynys, a diffeithwyt om achaws i!" A dodi ucheneit uawr a thorri y challon ar hynny. A gwneuthur bed pedryual[5]) idi ae chladu yno yg glan Alaw.

Ac ar hynny ker(58.*)det a wnaeth y seith wyr (41.) parth a Hardlech ar penn gantunt. Val y bydant yn kerdet, llyma gyweithyd yn kyuaruot ac wynt o wyr a gwraged. "A oes gennwch chwi chwedleu?" heb y Manawydan. "Nac oes, heb wynt, onyt goresgyn o Gasswallawn uab Beli Ynys y Kedyrn ae vot yn vrenhin coronawc yn Llundein." "Pa daruu, heb wynteu, y Garadawc[6]) vab Bran ar seith wyr, a edewit y gyt ac ef yn yr ynys honn?" "Dyuot Kasswallawn am eu penn a llad y chwe gwyr, a thorri ohonaw ynteu Gradawc y gallon[7]) o annyuyget[8]) am welet y cledyf yn llad y wyr, ac na wydyat, pwy ae lladei. Kasswallawn a'r daroed[9]) idaw wiscaw llen hut ymdanaw, ac ny welei neb ef yn llad y gwyr namyn y cledyf. Ny mynnei[10]) Gasswallawn y lad ynteu; y nei, uab y geuynderw, oed. A hwnnw uu y trydyd dyn, a torres y gallon o (a)niuyget[8]). Penndaran[11]) Dyuet, a oed yn was ieuanc gyt ar seith wyr, a dihengis yr coet," heb wynt.

---

[1]) *RB. u. WB.* Henueleu [2]) gantu [3]) ni [4]) ! da a dwy [5]) petrual [6]) Gradawc [7]) galon [8]) aniuyget *zu lesen:* anniwyget [9]) a daroed [10]) ny uynhei [11]) *RB. u. WB.* Penndarar

Ac yna y kyrchassant wynteu Hardlech ac y dechreuassant eisted. Ac y dechreuwyt ymdiwallu o vwyt a llynn, ac y dechreuassant wynteu vwytta ac yuet. Dyuot tri ederyn a dechreu canu udunt ryw gerd; ac, oc a glywssynt o gerd, diuwyn oed pob un y wrthi hi. A phell dremynt oed udunt eu gwelet uch penn y weilgi allan, (59.*) a chynamlycket oed udunt wy, a chyn bydynt gyt ac wy. Ac ar hynny o ginyaw y buant seith mlyned.

Ac ym penn y seithuet ulwydyn y kychwynnassant parth a Gwalas ym Penuro; ac yno yd oed udunt lle tec brenhineid uch benn y weilgi, ac yneuad uawr a oed yno udunt; ac yr neuad y kyrchyssant; ae deu drws a oed[1]) yn agoret, ar trydyd drws yn gayat, yr hwn tu a Chernyw. "Weldi racco, heb y Manawydan, y drws, (42.) ny dylywn ni y agori." Ar nos honno y buant yno yn diwall ac yn digrif gantunt. Ac yr a welsynt o ouut[2]) yn y gwyd, ac yr a glywys(synt)[3]) e hun, ny doey y gof udunt hwy dim, nac o hynny nac o alar yn y byt. Ac yno y treulyssant y pedwar ugeint mlyned, hyt na wybuant hwy eiryoet dwyn yspeit digrifach na hyfrydach no honno. Nyt oed annesmwythach nac adnabot o vn ar y gilyd y uot yn hynny[4]) o amser, no phan doethant yno. Nyt oed annessmwythach gantunt wynteu gytuot y penn yna, no phan uuassei Vendigeit Uran yn vyw gyt ac wynt. Ac o achaws y pedwar ugeint mlyned hynny y gelwit: Yspydawt urdawl benn. Yspydawt Vrannwen a Matholwch oed yr honn, yd aethpwyt y Iwerdon. Sef a wnaeth Heilyn uab Gwynn dydgweith: "Meuyl ar uy maraf[5]) i, heb ef, onyt agoraf y (60.*) drws y wybot, ae gwir, a dywedir am hynny!" Agori y drws a wnaeth ac edrych ar Gernyw ac ar Aber Henuelen.[6]) A phan edrychwys, yd oed yn gynhyspysset gantunt y geniuer[7]) collet, a gollassynt eiryoet, ar geniuer[7]) car a chedymdeith, a gollassynt, ar geniuer[7]) drwc, a dathoed udunt, a chyt bei yna, y kyuarffei ac wynt, ac yn bennaf am eu harglwyd.

Ac or gyuawr honno ny allyssant wy orfowys, namyn kychwynnu[8]) ar penn parth a Llundein. Pa hyt bynnac y bydynt ar y fford, wynt a doethant hyt yn Llundein ac a

---

[1]) welynt [2]) *RB. falsch*: o vwyt [3]) gewssynt [4]) *lies*: yn hyn? [5]) maryf [6]) Henveleu [7]) gyniuer [8]) kychu (*sic.*)

gladassant y penn yn y Gwynurynn. A hwnnw uu y trydyd matcud, pan cudywyt, ar trydyd anuat datcud, pan datcudywyt. Kany doey ormes byth drwy vor yr ynys honn, tra uei y penn yn y cud hwnnw. A hynny a dyweit y kyfarwydyt eu kyfranc hwy. Y gwyr, a gychwynnwys o Iwerdon, yw (43.) hwnnw.

Yn Iwerdon nyt edewit dyn byw namyn pump gwraged beichawc y mywn gogof yn diffeithwch Iwerdon. Ar pump gwraged hynny yn yr un kyfnot a anet udunt pump[1]) meib; ar pump[2]) meib hynny a uagassant, hyt pan uuant weisson mawr, ac yny uedylyassant am wraged, ac yny uu damunet gantunt eu kaffael. Ac yna kyscu pob un law heb law (61.*) gan uam y gilyd a gwledychu y wlat ae chyuannhedu ae rannu yryngtunt[3]) ell pump[4]). Ac o achaws y rannyat hwnnw y gelwir ettwa pump[5]) rann Iwerdon. Ac edrych y wlat a wnaethant ford, y buassei yr aeruaeu, a chael eur ac aryant, yny yttoedynt yn gyuoethawc.

A llyna, ual y teruyna y geinc honn or Mabinogi[6]) o achaws paluawt Branwen, yr honn a vu tryded anuat paluawt yn yr ynys honn, ac o acha(w)s yspadawt Bran, pan aeth niuer[7]) [pedeir] deg wlat a seith ugeint[8]) y Iwerdon y dial paluawt Branwen, ac am y ginyaw yn Hardlech seith mlyned, ac am ganyat adar Riannon, ac ar yspydawt benn pedwar ugeint mlyned.

---

[1]) pum [2]) pym [3]) yrydunt [4]) yll pymp [5]) etwan pymp
[6]) mabinyogi [7]) yniuer [8]) *cp.* 28 15

---

III.

## MANAWYDDAN.

### Llyma y dryded geinc or Mabinogi.[1])

Gwedy daruot yr seith wyr, a dywedassam ni uchot, cladu penn Bendigeit Uran yn y Gwynvryn yn Llundein ae wyneb ar Freinc edrych a wnaeth Manawydan ar y dref yn Llundein ac ar y gedymdeithon a dodi ucheneit uawr, a chymryt diruawr alar a hiraeth yndaw: "Oi a Duw hollgyuoethawc, gwae ui! heb ef, nyt oes neb heb le idaw heno namyn mi!" "Arglwyd, heb y Pryderi, na uit gyndrymhet genhyt a hynny; dy geuynderw yssyd urenhin yn Ynys y Kedyrn, a chyn gwnel gameu it, heb ef, ny buost ti hawlwr tir a dayar ei(62.*)ryoet. Trydyd lledyf unbenn wyt." "Ie, heb ef, kyt boet keuynderw ymi y gwr hwnnw, goathrist yw gennyf gwelet neb yn lle Bendigeit Uran, vy mrawt; ac ny allaf uot yn llawen yn un ty ac ef." "A wney ditheu gynghor arall?" heb y Pryderi. "Reit oed im wrth gynghor, heb ef, a pha gynghor yw hwnnw?" "Seith gantref [Dyuet] ry[2]) edewit ymi, heb y Pryderi, a Riannon, uy mam, yssyd yno; mi a rodaf itti honno a medyant y seith gantref genthi; a chyn ny bei itti o gyuoeth namyn y seith cantref hynny, nyt oes seith cantref well noc wy. Kicua uerch Wynn Gloyw yw vyg gwreic ynneu, heb ef, a chynn [bo] enw(45.)edigaeth y kyuoeth ymi, bit y mwynant yti a Riannon. A phei mynnvt gyuoeth eiryoet, atuyd y kaffut ti hwnnw." "Na uynnaf, unbenn, heb ef, Duw a dalo it dy gedymdeithas!" "Y gedymdeithas oreu, a allwyf i, ytti y byd, os mynny." "Mynnaf, eneit, heb ef, Duw a dalo itt! A mi a af gyt a thi y edrych Riannon ac y edrych y kyuoeth." "Iawn a

---

[1]) *fehlt WB.* [2]) yr

wney, heb ynteu. Mi a tebygaf, na werendeweist eiryo(e)t ar ymdidan-wreic well no hi. Yr amser, y bu hitheu yn y dewred, ny bu wreic deledíwach no hi; ac ettwa, ny bydy anuodlawn y phryt."

Wynt a gerdassant racdunt; a pha hyt (63.*) bynnac y bydynt ar y fford, wynt a doethant y Dyuet. Gwled darparedic oed udunt erbyn eu dyuot yn Arberth, a Riannon a Chicua wedy y harlwyaw. Ac yna dechreu kyteisted ac ymdidan o Uanawydan a Riannon; ac or ymdidan tirioni a wnaeth y vryt ae uedwl wrthi, a hoffi yn y uedwl, na welsei eiryoet gwreic digonach y thecket ae thelediwet no hi. "Pryderi, heb ef, mi a vydaf, wrth a dywedeisti." "Pa dywedwydat oed hwnnw?" heb y Riannon. "Arglwydes, heb ef Bryderi, mi ath roessum yn wreic y Uanawydan uab Llyr." "A minheu a vydaf wrth hynny yn llawen," heb y Riannon. "Llawen yw gennyf inneu, heb y Manawydan, a Duw a dalo yr gwr, yssyd yn rodi y minneu y gedymdeithas mor difleis a hynny!" Kynn daruot y wled honno y kyscwyt genthi. "Ar, ny deryw or wled, heb y Pryderi, treulwch chwi! A minneu a af y hebrwng vyg gwrogaeth y Gasswallawn uab Beli hyt yn Lloegyr." "A(r)glwyd, heb y Riannon, yg Kent y mae Kasswallawn, a thi a elly treulaw y wled honn ae aros ynteu, a uo nes." "Ninheu ae harhown," heb ef. Ar wled (46.) honno a dreulassant. A dechreu a wnaethant kylchaw Dyuet[1]) ae hela, a chymryt eu digrifwch. Ac wrth rodyaw y wlat ny welsynt eiryoet wlat (64.*) gyuanhedach no hi na heldir well nac amylach[2]) y mel ae physcawt no hi. Ac yn hynny tyuu kedymdeithas yrygtunt[3]) yll pedwar, hyt na mynnei yr vn vot heb y gilyd na dyd na nos. Ac ym mysc hynny ef a aeth at Gasswallawn hyt yn Ryt Ychen y hebrwng y wrogaeth idaw. A diruawr [lywenyd] a uu yn y erbyn yno a diolwch idaw hebrwng y wrogaeth idaw. A gwedy y ymchoelut kymryt eu gwledeu ae hesmwythter a orugant Pryderi a Manawydan. A dechreu gwled a orugant yn Arberth, kanys priflys oed, ac ohonei y dechreuit pob enryded.

A gwedy y bwyta kyntaf y nos honno, tra uei y gwassanaethwyr yn bwyta, kyuodi allan a orugant, a chyrchu

---

[1]) *RB. falsch* dyuot [2]) amlach [3]) yrydunt

gorsed Arberth a wnaethant yll pedwar ac eu niuer gyt ac wynt. Ac ual y bydant yn eisted uelly, llyma dwryf; a chan ueint y twryf, llyma gawat o nywl yn dyuot, hyt na chanhoed yr un ohonunt hwy y gilyd; ac yn ol y nywl, llyma yn goleuhau pob lle. A phan edrychyssant y ford, y gwelynt y preideu ar anreitheu ar kyuanhed kyn no hynny, ny welynt neb ryw dim, na thy nac anifeil na mwc na than na dyn na chyuanned eithyr tei y llys yn wac diffeith angkyfanned heb dyn heb vil yndunt.[1]) Eu kedymdeithon e hun (65.*) wedy eu colli heb wybot dim y wrthunt onyt hwy yll[2]) pedwar. "Oi a[3]) arglwyd Duw, heb y Manawydan, mae niuer[4]) y llys an niuer[5]) ninheu eithyr[6]) hynn? Awn y edrych!" Dyuot yr neuad[7]) a wnaethant: nyt oed neb. Kyrchu yr ystauell[8]) ar hundy: (ny) welynt neb; ym medgell nac yg k(egin) nyt oed (47.) namyn diffeithwch. D(echreu) a wnaethant yll pedwar treul(aw y wled), a hela a wnaethant a chymr(yt eu digriu)wch. A dechreu a wnaeth pob (un ohonunt) rodyaw y wlat ar kyuoeth y (edrych, a welynt) ae ty ae kyuanhed. A neb ryw (dim ny wel)ynt eithyr gwydlydnot.[9]) A gwed(y treulaw) eu gwled ac eu darmerth ohonunt dechreu a wnaethant ymborth ar gic hela a physcawt a bydafeu. Ac uelly b(l)wydyn ar eil a treulyssant yn digrif gantunt. Ac yn y diwed diffygyaw[10]) a wnaethant. "Dioer, heb y Manawydan, ny bydwn ual hynn. Kyrchwn Loegyr a cheisswn grefft, y kaffom yn hymborth."

Kyrchu Lloegyr a orugant a dyuot hyt yn Henfford a chymrut[11]) arnunt gwneuthur kyfrwyeu. A dechreu a wnaeth ef Uanawydan llunyaw corfeu, ac eu lliwaw ar y wed, y gwelsei gan Lasar Llaesgygwyd[12]), a chalch llasar. A gwneuthur calch lasar racdaw, ual y gwnathoed y gwr arall. Ac wrth hynny y gelwir ettwa calch lasar am y wneuthur o Lasar Llaesgygwyd[12]). Ac or gweith hwnnw, tra (66.*) geffit gan Uanawydan, ny phrynit gan gyfrwyyd dros wyneb Hennfford na chorof[13]) na chyfrwy, ac yny adnabu bop un or kyfrwyydyon y uot yn kolli oe hennill llawer, ac ny phrynit dim

---

[1]) yndi [2]) onyt wyll [3]) ar *RB.* [4]) yniuer [5]) ac yn anniuer [6]) namyn [7]) yr yneuad [8]) *so WB.-RB.* y kastell [9]) guydlwdyn [10]) dygyaw *verschr.* [11]) chymryt [12]) Llaesgygnwyt [13]) choryf

gantunt, onyt gwedy na cheffit gan Uanawydan. Ac yn hynny ymgynnullaw y gyt ohonunt a duunaw am[1]) y lad ef ae gedymdeith. Ac yn hynny rybud a gawssont wynteu, a chymryt kynghor am adaw y dref. "Yrof i a Duw, heb y Pryderi, ny chynghoraf i adaw y dref namyn llad y taeogyon[2]) racco." "Nac ef, heb y Manawydan, bei ymladem ni ac wyntwy, clot drwc a vydei arnam, ac an carcharu a wneit. Ys gwell ynn, heb ef, kyrchu tref arall y ymosmeithaw[3]) (48.) yndi."

Ac yna kyrchu dinas arall a wnaethant ell pedwar. "Pa geluydyt, heb y Pryderi, a gymerwn ni arnam?" "Gwnawn taryaneu," heb y Manawydan. "A wdom ninneu dim y wrth hynny?" heb y Pryderi. "Ni ae pro(fwn)," heb ynteu. Dechreu gwneuthur (taryan)eu[4]) a orugant ac eu llunyaw ar (weith ta)ryaneu da, a welsynt, a dodi y (lliw, a dody)ssynt ar y kyfrwyeu, arnunt. (Ar gweith h)wnnw a lwydwys racdunt, hyt (na phrynit) taryan yn yr holl dref, onyt (gwedy na ch)effit gantunt hwy. Kyflym (oed eu gwei)th wynteu a diuessur a (67.*) w(neynt. Ac ue)lly y buant, yny dygwydawd[5]) yw kytdrefwyr racdunt, ac yny duunassant ar geissaw eu llad. Rybud a doeth udunt wynteu a chlybot bot y gwyr ae bryt ar eu dihenydyaw. "Pryderi, heb y Manawydan, y mae y gwyr hynn yn mynnu an diuetha." "Na[6]) chymerwn ninheu y gan y taeogeu hynny; awn ydanunt[7]) a lladwn wynt." "Nac ef! heb ynteu; Kasswallawn a glywei hynny ae wyr a rewin vydem. Kyrchu tref arall a wnawn."

Wynt a doethant y dref arall. "Pa geluydyt yd awn ni wrthi?" heb y Manawydan. "Yr honn, y mynnych, or a wdam ni," heb y Pryderi. "Nac ef! heb ynteu, gwnawn grydyaeth! Ny byd o gallon[8]) gan grydyon nac ymlad a ni nac ymwaravun." "Ny wn i dim y wrth honno," heb y Pryderi. "Mi ae gwnn, heb y Manawydan, a mi a dyscaf itti wniaw. Ac nyt ymyrrwn ar gyweiryaw lledyr, namyn y prynu yn parawt a gwneuthur yn gweith ohonaw." Ac yna dechreu prynu y cordwal teckaf, a gafas yn y dref; ac amgen ledyr no hwnnw ny phrynei ef eithyr lledyr gwadneu. A dechreu a wnaeth ymgedymdeithassu ar eurych goreu yn

---

1) ar 2) tayogeu 3) ymossymdeithaw 4) gueith y taryaneu
5) dygywys 6) Ny 7) adanunt 8) galhon

y dref, a pheri (49.) gwaegeu yr esgidyeu ac euraw y gwaegeu a synnyaw e hun ar hynny, yny gwybu. Ac or achaws hwnnw y gelwit ef yn drydyd (68.*) eurgryd. Tra geffit gantaw ef, nac esgit na hossan ny phrynit dim gan gryd yn yr holl dref. Sef a wnaeth y crydyon: adnabot bot eu hennill yn pallu udunt; kanys ual y llunyei Vanaw(y)dan y gweith, y gwniei Pryderi. Dyuot y crydyon a chymryt kyghor. Sef a gawssant yn eu kynghor: duunaw ar eu llad. "Pryderi, heb y Manawydan, y mae y gwyr hynn yn mynnu an llad." "Paham[1]) y kymerwn ninneu hynny y gan y taeogeu lladron? heb y Pryderi, namyn eu llad hwy oll!" "Nac ef! heb y M(an)awydan, nyt ymladwn ac wynt, ac ny bydwn yn Lloegyr bellach. Kyrchwn parth a Dyuet ac awn y hedrych."

Pa[2]) hyt bynnac y buant ar y fford, wynt a doethant y Dyuet, ac Arberth a gyrchassant. A llad tan a wnaethant, a dechreu ymborth a hela a threulaw mis uelly; a chynnull eu kwn attunt[3]) a bot uelly yno vlwydyn.

A boregweith kyuodi Pryderi a Manawydan y hela, a chyweiryaw eu kwn a mynet odieithyr[4]) y llys. Sef a wnaeth rei or cwn: kerdet oe blaen a mynet y berth vechan, a oed geyr eu llaw. Ac y gyt ac yd aant yr berth, kiliaw yn gyflym a cheginwrych mawr[5]) gantunt ac ymchoelut[6]) at y gwyr. "Nessawn, heb y Pryderi, parth ar berth y edrych, beth yssyd yndi." Nessau (69.*) parth ar berth a wnaethant. Pan nessayssant[7]), llyma uaed coet claer-wyn yn kyuodi or berth. Sef a oruc y cwn o hyder y gwyr: ruthraw idaw. Ssef a wnaeth ynteu: adaw y berth a chilyaw dalym y wrth y gwyr; ac yny uei agos y gwyr idaw, kyuarth a rodei yr kwn heb gilyaw yrdunt. A phan yghei y (50.) gwyr, y kiliei eilweith ac y torrei gyuarth. Ac yn ol y baed y kerdassant, yny welynt gaer uawr aruchel a gweith newyd arnei yn y lle, ny welsynt na maen na gweith eiryoet. Ar baed yn kyrchu yr gaer yn vuan[8]), ar kwn yn y ol. A gwedy mynet y baed ar kwn yr gaer, ryuedu a wnaethant welet y gaer yn y lle, ny welsynt[9]) eiryoet weith kyn no hynny. Ac

---

[1]) pam [2]) By [3]) + a hela [4]) *Beginn des Fragments in Pen. 6* [5]) + aruthyr *WB. u. P. 6.* [6]) emchwelu *P. 6* [7]) nessaant *WB. u. P. 6* [8]) unyawn *P. 6* [9]) ny'r welsynt *P. 6*

o benn yr orsed edrych a wnaethant ac ymwarandaw ar kwn. Pa hyt bynnac y bydynt uelly, ny chlywynt un or kwn na dim y wrthunt. "Arglwyd, heb y Pryderi, mi a af yr gaer y geissaw chwedleu y wrth y cwn." "Dioer, heb ynteu, nyt da[1]) dy gyghor uynet yr gaer honn, nys gweleist eiryoet[2]); ac o gwney vyg kyngor i, nyt ey idi. Ar neb, a dodes hut ar y wlat, a beris bot y gaer ymma." "Dioer, heb y Pryderi, ny madeuaf i vyg cwn." Pa gyghor bynnac a gaffei ef y gan Uanawydan, y gaer a gyrchawd[3]) ef. Pan doeth yr gaer, na dyn na mil (70.*) nar baed nar cwn na thy nac anhed nys gwelei[4]) yn y gaer. Ef a welei ual am gymherued llawr y gaer ffynnawn a gweith o vaen marmor yn y chylch; ac ar lan fynnawn kawc eur uch benn[5]) llech o vaen marmor; a[6]) chadwyneu yn kyrchu yr awyr; a diben nys gwelei[4]) arnunt.[7]) Gorawenu[8]) a wnaeth ynteu wrth decket yr eur a dahet gweith y kawc. A dyuot a wnaeth, yn yd oed y kawc, ac ymauael ac ef. Ac ual[9]) yd ymauaelawd[10]) ar kawc, glynu y dwy-law wrth y kawc ae draet wrth y llech, yd oed y kawc[11]) yn seuyll arnei, a dwyn y leferyt[12]) y gantaw, hyt na allei dywedut vn geir; a seuyll a wnaeth uelly. Ae aros ynteu a wnaeth Manawydan hyt parth a diwed y dyd.

A phrynhawn[13]) byrr, gwedy bot yn diheu gantaw, na chaei chwedleu y wrth (51.) Pryderi nac y wrth y cwn, dyuot a oruc parth ar llys. Pan daw y mywn, sef a wnaeth Riannon: edrych arnaw: "Mae, heb hi, dy gedymdeith ti ath gwn?" "Llyma, heb ynteu, vyng kyfranc[14])," ae datkanu oll. "Dioer, heb y Riannon, ys drwc a gedymdeith, uuost di; ac ys da a gedymdeith, a golleist di." A chan y geir hwnnw mynet allan. Ac yr artal[15]), y managassei ef uot y gwr ar gaer, kyrchu yno a wnaeth hitheu. (71.*) Porth y gaer a welas yn agoret: ny bu argel arnei; ac y mywn y doeth[16]);

---

[1]) nyth dwc [2]) — *WB. dafür*: yma eiryoet; *P. 6*: ny welsam ni y gaer honn ema eiroed [3]) gyrchwys *WB.* gyrchus *P. 6* [4]) ny welei *WB. u. P. 6* [5]) cauc evr en rwymedic urth bedeir cadwyn; a hynny uch ben *P. 6* [6]) ar (!) *P. 6* [7]) arnadunt *P. 6* [8]) gorfynnaw *P. 6* [9]) ygyt ac *WB. u. P. 6* [10]) ymeueil *WB.* emafael *P. 6* [11]) — *WB. u. P. 6* [12]) *so P. 6*; *WB. u. RB. falsch* lewenyd. [13]) phyrnawn *P. 6* [14]) + ar damwein *P. 6* [15]) ac (ar) y traws *WB. u. P. 6* [16]) deuth

ac ual[1]) y doeth, arganuot[2]) Pryderi yn ymauael ar cawc a dyuot attaw. "Och arglwyd, heb hi, beth a wney di yma?" ac ymauael ar kawc gyt ac ef. Ac y gyt ac yd ymeveil, glynu y dwy-law hitheu wrth y kawc ae deu-troet wrth y llech, hyt na allei hitheu dywedut un geir. Ac ar hynny, gyt ac y bu nos, llyma dwryf arnunt a chawat o nywl, a chan hynny difflannu y gaer ac ymeith[3]) ac wynteu.

Pan welas Kicua verch Gwyn Gloew[4]), nat oed yn y llys namyn hi a Manawydan, drycyruerth a wnaeth, hyt nat oed well genti y byw noe marw. Ssef a wnaeth Manawydan: edrych ar hynny: "Dioer, heb ef, cam yd wyt arnaw, os rac vy ovyn i, y drycyruerthy di; mi a rodaf Duw yn vach itt, na weleisti gedymdeith gywirach, noc y keffy di vi, tra vynno Duw itt uot uelly. Yrof a Duw, pei yt uewn i[5]) yn dechreu vy ieuenctit, mi a gadwwn[6]) gywirdeb wrth Pryderi; ac yrot titheu, mi ae cadwwn[6]). Ac na vit un ovyn arnat, heb ef. Ac yrof a Duw, heb ef, ti a geffy[7]) y gedymdeithas, a uynnych y gennyf i, herwyd vyg gallu i, (72.*) tra welo Duw yn bot yn y dihirwch hwnn ar goual." "Duw a dalo itt, heb hi, a hynny a debygwn i." Ac yna kymryt llewenyd ac ehouyndra or uorwyn o (52.) achaws hynny.

"Ie, eneit, heb y Manawydan, nyt kyfle ynni trigyaw yma: Yn kwn a gollassam, ac ymborth nys gallwn[8]). Kyrchwn Loeger; hawssaf yw yni ymborth yno." "Yn llawen, arglwyd, heb hi, ni a wnawn hynny." Y gyt y kerdassant hyt yn[9]) Lloegyr: "Arglwyd, heb hi, pa greft a gymery di arnat? Kymer vn lannweith." "Ny chymeraf i, heb ef, namyn crydyaeth, ual y gwneuthum gynt." "Arglwyd, heb hi, nyt hoff honno y glanet y wr kygynnilet kyuurd a thydi." "Wrth honno yd af i," heb ef. Dechreu y geluydyt a wnaeth a chyweiryaw y weith or cordwal teckaf, a gauas yn y dref. Ac ual y dechreuyssynt yn lle arall, dechreu gwaegu[10]) yr yskidyeu o waegeu eureit, yny oed ouer a man weith[11]) holl grydyon y dref y wrth yr eidaw ef e hun. A thra geffit y gantaw nac eskit na hossan, ny phrynit y gan ereill dim.

---

[1]) ac ygyt ac [2]) *Ende des Fragm. Pen. 6* [3]) eymdeith [4]) + gwreic Pryderi [5]) bei etuwni [6]) gadwn, cadwn [7]) gey [8]) ny allwn [9]) parth a [10]) gvaegeu [11]) a man gueith

A blwydyn uelly a treulwys ef yno, yny[1]) oed y crydyon yn dala kynuigen a chyghoruynt wrthaw, ac yny doeth rybudyeu idaw, (73.*) a menegi uot y crydyon wedy duunaw ar y lad. "Arglwyd, heb y Kicua, pam y diodefir hynn y gan y taeogeu?" "Nac ef, heb ynteu, ni aem[2]) eissoes y Dyuet."

Dyuet a gyrchyssant. Sef a oruc Manawydan, pan gychwynnwys parth a Dyuet: dwyn beich o wenith gantaw. A chyrchu Arbe(r)th, a chyuanhedu yno. Ac nyt oed dim digriuach gantaw no gwelet Arberth ar tirogaeth, y buassei yn hela ef a Phryderi a Riannon gyt ac wynt. Dechreu a wnaeth kynneuinaw a hela pyscawt a llydnot ar eu gwal yno. Ac yn ol hynny dechreu ryuoryaw, ac yn ol hynny heu grofft[3]), ar eil, ar dryded. Ac nachaf, y gwenith yn kyuot yn oreu yn y byt, ae deir grofft[4]) yn llwydyaw yn vn dwf, hyt na welsei dyn (53.) wenith degach noc ef.

Treulaw amseroed y vlwydyn a wnaeth. Nachaf y kynnhaeaf yn dyuot. Ac y edrych un oe roffteu[5]) yd aeth[6]). Nachaf honno yn aeduet. "Mi a uynnaf vedi honn auory," heb ef. Dyuot draegeuyn y nos honno hyt yn Arberth. Y bore glas drannoeth dyuot y uynnv medi y rofft[4]). Pan daw, nyt oed namyn y kalaf yn llwm wedy daruot torri pob un, yn y doi yn y dywyssen or keleuyn. A mynet ymeith ar tywys yn hollawl, ac adaw y calaf yno yn llwm. Ryuedu hynny yn uawr (74.*) a wnaeth a dyuot y edrych grofft[4]) arall. Nachaf honno yn aeduet. "Dioer, heb ef, mi a uynnaf uedi honn auory."

A thrannoeth dyuot ar uedwl medi honno. A phan daw, nyt oed dim namyn y kalaf llwm. "Oi a arglwyd Duw, heb ef, pwy yssyd yn gorffen vyn diua i? A mi ae gwnn: y neb, a dechreuis vyn diua, yssyd yn y orfen, ac a diuawys y wlat gyt a mi." Dyuot y edrych y dryded rofft[4]). Pan doeth, ny welsei neb[7]) wenith degach, a hwnnw yn aeduet. "Meuyl ymi, heb ef, ony wylaf i heno! Ar neb, a duc yr yt arall, a daw y dwyn hwnn. A mi a wybydaf, beth yw." A chymryt y arueu a wnaeth a dechreu gwylat y grofft[4]); a menegi a wnaeth y Kicua hynny oll. "Ie, heb hi, beth yssyd yth vryt ti?" "Mi a wylaf y grofft[4]) heno," heb ef.

---

[1]) yn yd [2]) ni a aem [3]) groft [4]) grofd [5]) rofdeu [6]) y doeth [7]) dyn

Y wylat y grofft[1]) yd aeth. Ac ual y byd am hanner nos uelly, nachaf twryf mwyhaf yn y byt. Sef a wnaeth ynteu: edrych. Ar hynny, llyma eliwlu y byt o lygot, a chyfrif na messur ny ellit ar hynny; ac ny wydyat, yny uyd y llygot yn gwan a dan y groft[2]). A phob un yn drigyaw ar hyt y keleuyn ac yn y estwng genti ac yn torri y tywyssen ac yn gwan ar dywyssen ymeith[3]) ac yn adaw y kalaf (54.) yno. Ac ny wydyat ef uot un keleuyn yno, ny bei lygoden[4]) am bob un; ac a gymerynt eu hynt racdunt ar tywys (75.*) gantunt. Ac yna rwng dicter[5]) a llit taraw ym plith y llygot a wnaeth; a mwy noc ar y gwydbet neu yr adar yn yr awyr ny chytdremei ef ar yr un ohonunt eithyr un, a welei yn amdrom, ual y tebygei, na allei un pedestric. Yn ol honno y kerdwys ef ae dala a wnaeth ae dodi yn y uanec; ac a llinin rwymaw geneu y vanec[6]) ae chadw gantaw a chyrchu y llys. Dyuot yr ystauell yn y lle, yd[7]) oed Kicua, a goleuhau y tan. Ac wrth y llinin dodi y uanec ar y wanas a oruc. "Beth yssyd yna, arglwyd?" heb y Kicua. "Lleidyr, heb ynteu, a geueis yn lletratta arnaf." "Pa ryw leidyr, arglwyd, a allut ti y dodi yth uanec?" heb hi. "Llyma oll," heb ynteu, a menegi, ual yr lygryssit ac y diuwynissit y groffteu[8]) idaw, ac ual y doethant y llygot idaw yr grofft[2]) diwethaf yn y wyd. "Ac vn ohonunt oed amdrom, ac a deleis[9]) inheu, ac yssyd yn vy manec, ac a grogaf inheu avory. Ac ym kyffes y Duw, bei as kaffwn oll, mi ae crogwn!" "Arglwyd, heb hi, diryued oed hynny; ac eissoes[10]), anhwymp yw gwelet gwr kyfurd kymoned a thidi yn crogi y ryw bryf hwnnw; a phei gwnelut iawn, nyt ymyrrut yn y pryf, namyn y ellwng ymeith." "Meuyl ymi, heb ef, pei as caffwn i oll wynt, onys crogwn[11]); (76.*) ac a geueis, mi ae crogaf." "Ie arglwyd, heb hi, nyt oes achaws ymi y uot yn borth yr pryf hwnnw, namyn goglyt ansyberwyt yti. A gwna ditheu dy ewyllys, arglwyd." "Bei gwypwn inheu[12]) defnyd yn y byt, y dylyut titheu bot yn borth idaw ef, mi a vydwn wrth dy gynghor amdanaw, heb y Manawydan;

1) groft 2) grofd 3) tywys e ymdeith 4) *falsch RB.* lygodet
5) dicher *RB.* 6) *RB. falsch* vanet. 7) yn yd 8) grofdeu
9) delleis *RB.* 10) eisswys 11) crogrwn *RB.* 12) ninheu *RB.*

a, chanys nys[1]) gwnn, arglwydes, medwl yw gennyf y (55.) diuetha." "A gwna ditheu yn llawen," heb hi.

Ac yna y kyrchwys ef orsed Arberth ar llygoden gantaw; a sengi dwy fforch yn y lle uchaf yn yr orsed. Ac ual y byd uelly, llyma y gwelei yscolheic yn dyuot attaw, a hendillat hydreul tlawt ymdanaw. Ac neut oed seith mlyned kyn no hynny, yr pan welsei ef na dyn na mil eithyr y pedwar dyn, y buassynt y gyt, yny golles y deu. "Arglwyd, heb yr yscolheic, dyd da itt!" "Duw a rodho da itt! a gressaw[2]) wrthyt! heb ef. Pan doy di, yr yscolheic?" heb ef. "Pan doaf, arglwyd, o Loygyr o ganu. A phaham y gouynny di, arglwyd?" heb ef. "Am na weleis, heb ef, yr ys[3]) seith mlyned un dyn onyt pedwar dyn diholedic[4]) a thitheu yr awr honn." "Ie, arglwyd, heb ef, mynet trwy y wlat honn yd wyf inheu yr awr honn parth am gwlat vy hvn. A pha ryw weith yd wyd[5]) yndaw, arglwyd?" "Crogi lleidyr, a geueis yn lletratta arnaf," heb ef. "Pa ryw leidyr, arglwyd? (77.*) heb yr yscolheic. Pryf a welaf yth law di ual llygoden. A drwc y gweda y wr kyfurd a thydi teimlaw[6]) pryf kyfryw a hwnnw. Gellwng ymeith ef." "Na ellyngaf, yrof a Duw! heb ynteu; yn lletratta arnaf y keueis i ef, a chyfreith lleidyr a wnaf inheu ac ef: y grogi." "Arglwyd, heb ynteu, rac gwelet gwr kyfurd a thidi yn y gweith hwnnw, punt, a geueis i o gardotta, mi ae rodaf itti, a gellwng y pryf hwnnw ymeith." "Na[7]) ellyngaf, yrof a Duw, ac nys gwerthaf." "Gwna di, arglwyd, heb ef, ony bei rac[8]) gwelet gwr kyfurd a thidi yn teimlaw y ryw bryf [a] hwnnw, nym torey i." Ac ymeith yd aeth yr yscolheic.

Val y byd ynteu yn dodi y dulath yn y ffyrch, nachaf offeirat yn dyuot attaw ar uarch yn gyweir. "Arglwyd, dyd da itt!" heb ef. "Duw a rodho[9]) (56.) da itt, heb y Manawydan, ath uendith!" "Bendyth Duw itt! A pha ryw [weith], arglwyd yd wyt yn y wneuthur?" "Crogi lleidyr, a geueis yn lletratta arnaf," heb ef. "Pa ryw leidyr yw hwnnw, arglwyd?" heb ef. "Pryf, heb ynteu, ar ansawd llygoden; a lletratta a wnaeth arnaf; a dihenyd lleidyr a wnaf ynneu arnaw ef."

---

[1]) — [2]) grayssaw [3]) yr ys = neut *WB.* [4]) ditholedic *RB.*
[5]) wyte [6]) ymodi [7]) nac [8]) + hagyr, — rac [9]) ro

"Arglwyd, heb ynteu, rac dy welet yn teimlaw[1]) y pryf hwnnw, mi ae prynaf; ellwng ef." "Y Duw y dygaf vyg kyffes: nae werthu nae ellwng[2]) nas gwnaf i!" "Gwir yw, arglwyd, nyt gwerth arnaw ef dim; eithyr, (78.*) rac dy welet ti yn ymhalogi wrth y pryf hwnnw, mi a rodaf itt teir punt; — a gollwng ef ymeith." "Na vynnaf, yrof i a Duw, heb ynteu, vn gwerth yrdaw namyn yr hwnn, a dyly: y grogi." "Yn llawen, arglwyd, gwna dy vympwy." Ymeith yd aet(h) yr offeirat.

Sef a wnaeth ynteu: maglu y llinin am vynwgyl y llygoden. Ac ual yd oed yn y dyrchauel, llyma rwtter escob, a welei, ae swmereu ae niueroed[3]), ar esgob e hun yn kyrchu parth ac attaw. Sef a wnaeth ynteu: gohir ar y weith. "Arglwyd esgob, heb ef, dy uendyth!" "Duw a rodho y uendith itt! heb ef. Pa ryw weith yd wyt ti yndaw?" "Crogi lleidyr, a geueis yn lletratta arnaf," heb ef. "Ponyt llygoden, heb ynteu, a welaf i yth law di?" "Ie, heb ynteu, a lleidyr uu hi arnaf i." "Ie, heb ynteu, kan deuthum[4]) i ar diuetha y pryf hwnnw, mi ae prynaf y gennyt: mi a rodaf seith punt itt yrdaw, ac rac[5]) gwelet gwr kyfurd a thi yn diuetha pryf mor dielw a hwnnw. Gollwng ef, ar da a geffy ditheu." "Na ellynghaf, yrof a Duw!" heb ynteu. "Kan nys gollynghy yr hynny, mi a rodaf it pedeir punt ar hugeint o aryant parawt; — a gellwng ef!" "Na ellyngaf, dygaf y Duw vyng kyffes, yr y gymeint arall!" heb ef. "Kan nys (57.) gellyngy[6]) yr hynny, heb ef, mi a rodaf itt, a wely o veirch[7]) yn y (79.*) maes hwnn, a seith swmer, yssyd yma, ar seith meirch, y maent arnunt." "Na vynnaf, yrof a Duw!" heb ynteu. "Kany mynny hynny, gwna y[8]) gwerth, a vynnych." "Gwnaf, heb ynteu: rydhau Riannon a Phryderi." "Ti a gey[9]) hynny." "Na vynnaf, yrof a Duw!" "Beth a uynny ditheu?" "Gwaret yr hud ar lletrith y ar seith cantref Dyuet." "Ti a geffy hynny heuyt, — a gellwng y llygoden!" "Na ellyngaf, yrof a Duw! heb ef. Gwybot a uynnaf, pwy yw[10]) y llygoden." "Vyg gwreic i yw hi; a pha(n) ny[11]) bei hynny, nys dillynghwn."

---

[1]) ymodi [2]) ollwng [3]) ay yniuer [4]) doethwyf [5]) a rac [6]) collyghy [7]) uarch [8]) yr *RB.* [9]) gehy [10]) *so WB., falsch RB.* ef [11]) phyny

"Pa ffuryf[1]) y doeth hi attaf i?" "Y herwa, heb ynteu. Miui yw Llwyt uab Kil Coet; a mi a dodeis yr hut ar seith cantref Dyuet; ac y dial Gwawl uab Clut o gedymdeithas ac ef y dodeis i yr hut. Ac ar Pryderi y dieleis i gware broch yg cot a Gwawl uab Clut, pan y gwnaeth Pwyll penn Annwn; a hynny yn llys Eueyd Hen y gwnaeth o aghyghor. A gwedy gwybot[2]) dy uot titheu yn kyuanhedu y wlat, y doeth vyn teulu attaf ynheu ac erchi eu rithaw yn llygot y diua dy yt ti. Ac y doethant y nos gyntaf vyn teulu e hunein; ar eil nos y doethant heuyt ac y diuayssant y dwy groffd; ar tryded nos y doeth uyng gwreic a gwraged y llys attaf y erchi im eu rithaw; ac y (80.*) ritheis ynheu. A beichawc oed hi. A pha(n) ny bei ueichawc hi, nys gordiwedut ti. A chanys hynny, vu[3]), ae dala hi, mi a rodaf Pryderi a Riannon itt, ac a waredaf yr hut ar lletrith y ar Dyuet. Minneu a uenegeis itti, pwy oed[4]) hi; — a gellwng hi weithon[5])!" "Na ellygaf, yrof i a Duw!" heb ef. "Beth a uynny ditheu?" heb ef. "Llyma, heb ynteu, a uynnaf: na bo hut vyth ar seith cantref Dyuet, ac na dotter." "Ti a geffy hynny, (58.) heb ef, — a gellwng hi!" "Na ellynghaf, myn uyng cret[6])!" heb ynteu. "Beth a uynny ditheu bellach?" heb ef. "Llyma itt, heb ef, a vynnaf: na bo ymdiala ar Pryderi a Riannon nac arnaf inheu byth am hynn." "Hynny oll a geffy; a, dioer, da y medreist. [Bei na metrut hynny,] heb ef, ef a doei am dy benn gwbyl or gouut." "Ie, heb ynteu, rac hynny y nodeis ynneu." "Rydhaa[7]) weithon vyg gwreic im." "Na rydhaaf, yrof a Duw, heb ef, yny welwyf Pryderi a Riannon yn ryd gyt a mi." "Weldy[8]) yma wyntwy yn dyuot," heb ef.

Ar hynny, llyma Pryderi a Riannon. Kyuodi a oruc ynteu yn eu herbyn ae gressawv[9]); ac eisted y gyt. "A wrda, rydha[7]) vyg gwreic im weithon! heb yr escob; ac neu ry geueist gwbyl, or a nodeist[10])?!" "Gellyngaf[11]) yn llawen!" heb ef. Ac yna y gellyngawd[12]) ef hi. Ac y trewis ynteu hi a hutlath ac y datrithwys hi yn wreic ieuanc deccaf[13]), a

---

[1]) gyffuryf [2]) clybot [3]) a chanys bu [4]) yw [5]) — [6]) yrof a Duw [7]) rytha [8]) Wely di [9]) graessawu [10]) *RB.* or annodeist [11]) Ellynghaf [12]) y gollwng hi [13]) wreigyang geccaf

welsei neb. “Edrych yth (81.*) gylch ar y wlat, heb ef, a thi a wely yr holl anhedeu ar kyuanhed, ual y buant oreu.” Yna kyuodi a oruc ynteu ac edrych. A phan edrychawd[1]), ef a welei yr holl wlat yn gyuanned ac yn gyweir oe holl alauoed ae hannedeu. “Pa ryw wassanaeth y bu Pryderi a Riannon yndaw?” heb ef. “Pryderi a uydei ac yrd porth uy llys i am y uynwgyl, a Riannon a uydei a m(yn)weireu yr essyn, wedy bydynt yn kywein gweir, am y mynwgyl hitheu; ac uelly y bu eu carchar.”

Ac o achaws y karchar hwnnw y gelwit y kyfarwydyt hwnnw: Mabinogi Mynnweir a Mynord. Ac uelly y teruyna y geinc honn yma or Mabinogi.

---

[1]) edrych

## IV.

## MATH UAB MATHONWY.

### Honn yw y bedwared geinc or Mabinogi.[1])

Math uab Mathonwy oed arglwyd ar Wyned, a Phryderi uab Pwyll oed arglwyd ar vn cantref ar hugeint yn y Deheu. Sef oed y rei hynny: seith cantref Dyuet, a seith cantref Morganhwc, pedwar cantref Keredigyawn, a thri Ystrat Tywi. Ac yn yr amser hwnnw[2]) Math uab Mathonwy ny bydei vyw, namyn tra uei y deu-troet ymlyc croth morwyn, onyt kynnwryf ryuel ae llesteirei. Sef yd oed yn uorwyn y gyt ac ef: Goewin uerch Pebin o Dol Pebin yn Aruon. A honno teckaf morwyn oed yn y hoes, or a wydit yno. Ac ynteu yg Kaer Dathyl yn Aruon yd oed y wasta(82.*)trwyd. Ac ny allei gylchu y wlat, namyn Giluaethwy uab Don ac Eueyd uab Don, y nyeint, ueibon y chwaer, ar teulu gyt ac wy y gylchu y wlat drosdaw. Ar uorwyn oed gyt a Math yn wastat.

Ac ynteu Giluaethwy uab Don a dodes y vryt ar y vorwyn ae charu, hyt na wydyat, beth a wnaei amdanei. Ac yn hynny, nachaf y liw ae wed ae ansawd yn atueilaw oe charyat, hyt nat oed hawd y adnabot. Sef a wnaeth Gwydyon, y urawt: synyeit dydgweith arnaw yn graf. "Ha was, heb ef, pa deryw itti?" (60.) "Paham? heb ynteu, beth a wely di arnaf i?" "Gwelaf arnat, heb ef, colli ohonat dy bryt ath liw. A pha deryw itti?" "Arglwyd vrawt, heb ef, yr hynn, a deryw ymi, ny ffrwytha im y adef y neb." "Beth yw hynny, eneit?" heb ef. "Ti a wdost, heb ynteu, kynnedyf Math uab Mathonwy: ba hustyng bynnac, yr y uychanet a uo, yrwng dynyon, or y kyfarffo y gwynt ac ef, ef ae gwybyd." "Ie, heb y Gwydyon, taw di bellach; mi a wnn dy uedwl di: caru

---

[1]) *fehlt WB.* [2]) oes honno

Goewin yd wyt ti." Sef a wnaeth ynteu yna, pan wybu ef adnabot oe urawt y uedwl: dodi ucheneit dromhaf yn y byt. "Taw, eneit, ath ucheneidaw, heb ef, nyt o hynny y goruydir. Minheu a baraf, heb ef, — kany ellir heb hynny — dygyuori Gwyned (83.*) a Phowys a Deheubarth y geissaw y uorwyn. A byd lawen di; a mi ae paraf itt."

Ac ar hynny att Uath uab Mathonwy yd aethant wy. "Arglwyd, heb y Gwydyon, mi a gigleu dyuot yr Deheu y ryw pryuet, ny doeth yr ynys honn eiryoet." "Pwy y henw hwy?" heb ef. "Hobeu, arglwyd." "Pa ryw aniueileit yw y rei hynny?" "Aniueileit bychein, gwell eu kic no chic eidon; bychein ynt wynteu, ac y maent yn symudaw enweu. Moch y gelwir weithon." "Pwy biewynt hwy?" "Pryderi uab Pwyll yd anuonet idaw o Annwn y gan Arawn, vrenhin Annwn." (Ac ettwa yd ys yn kadw or enw hwnnw: Hanner hwch, hanner hob.[1]) "Ie, heb ynteu, ba ffuryf y keffir wy y gantaw?" "Mi af[2]) ar vyn deudecuet yn rith beird, arglwyd, y erchi y moch." "Ef a ry eill ych neckau," heb ynteu. "Nyt drwc vyn trawsgwyd i, arglwyd, heb ef; ny deuaf[3]) i heb y moch." "Yn llawen, heb ynteu, kerda ragot."

Ef a aeth a Giluaethwy a degwyr gyt ac wynt hyt yg Keredigyawn yn y lle, (61.) a elwir Rudlan Teiui yr awr honn, yn y lle[4]) yd oed llys[5]) y Pryderi. Ac yn rith beird y doethant y mywn, a llawen uuwyvt[6]) wrthunt. Ar neill law Pryderi y gossodet Gwydyon y nos honno. "Ie, heb y Pryderi, da oed[7]) (84.*) gennym ni kael kyvarwydyt gan rei or gwyreeinc[8]) racko." "Moes yw gennym ni, arglwyd, heb y Gwydyon, y nos gyntaf, y delher att wr mawr, dywedut or pennkerd. Mi a dywedaf gyuarwydyt yn llawen." Ynteu Wydyon goreu kyuarwyd yn y byt oed; ar nos honno didanu y llys a wnaeth ar ymdidaneu digrif a chyvarwydyt, yny oed hoff gan bawp or llys ac yn didan gan Pryderi ymdidan ac ef. Ac ar diwed hynny: "Arglwyd, heb ef, ae gwell, y gwna neb uy neges i wrthyt ti, no miui uy hun?" "Na well, heb ynteu, tauawt llawnda[9]) yw y teu di." "Llyma vy neges inheu, arglwyd, heb ef: ymadolwyn a thidi am yr aniueileit, a

---

[1]) *spätere Glosse?* [2]) a af [3]) doaf [4]) — yn y lle [5]) + yno [6]) uuant [7]) yw [8]) gwreinc [9]) *lies:* iawnda? *WB.* lawn da

anuonet itt o Annwvyn." "Ie, heb ynteu, hawssaf yn y byt oed hynny, pany[1]) bei ammot yrof am gwlat amdanunt. Sef yw hynny: nat elhont y gennyf, yny hilyont eu deu kymeint yn y wlat." "Arglwyd, heb ynteu, minneu a allaf dy rydhau ditheu or geireu hynny. Sef, ual y gallaf: Na dyro ym y moch heno ac na naccaa[2]) ui ohonunt. Auory minneu a dangossaf gyfnewit amdanunt wy." Ar nos honno yd aethant ef ae gedymdeithon y lletty ar y kynghor. "A wyr, heb ef, ni chawn ni y moch oc eu herchi." (85.*) "Ie, heb wynteu, pa drawsgwyd y keir wynteu?" "Mi a baraf eu kael," heb y Gwydyon. Ac yna yd aeth ef yn y geluydodeu ac y dechreuawd dangos y hut: ac yd hudwys deudec emys a deudec milgi, bronnwyn du bob un ohonunt, a deudec torch a deudec kynllyuan arnunt. (62.) A neb, or ae gwelei, ny wydyat, na beynt[3]) eur. A deudec kyfrwy ar y meirch; ac am bob lle, oc y dylyei hayarn uot arnunt, y bydei eur o gwbyl[4]); ar ffrwyneu yn un weith a hynny. Ar meirch ac ar kwn y doeth ef att Pryderi. "Dyd da itt, arglwyd!" heb ef. "Duw a rodho[5]) da itt, heb ynteu, a graessaw wrthyt!" "Arglwyd, heb ef, llyma rydit ytti am y geir, a dywedeist neithwyr am y moch, nas rodut ac nas gwerthut: titheu a elly gyfnewityaw[6]), yr a uo gwell. Minneu a rodaf y deudeg meirch hynn, ual y maent yn gyweir, ac eu kyfrwyeu ac eu ffrwyneu, ar deudec milgi ac eu torcheu ac eu kynllyuaneu, ual y gwely; ar deudec taryan eureit, a wely di racko." Y rei hynny a rythassei ef or madalch. "Ie, heb ynteu, ni a gymerwn gynghor." Sef y kawssant[7]) yn y kynghor: rodi y moch y Wydyon a chymryt y meirch ar kwn ar taryaneu y gantaw ynteu. Ac yna y kymerassant hwy genhat[8]) ac y dechreuassant gerdet ar moch. "A geimeit, heb y Gwydyon, (86.*) reit yw in gerdet yn bryssur; ny phara yr hut namyn or pryt y[9]) gilyd."

Ar nos honno y kerdassant hyt yg gwarthaf Keredigyawn y lle, a elwir ettwa or achaws hwnnw Mochdref. A thrannoeth y kymerassant eu hynt; dros Elenit y doethant; ar nos honno y buant yrwng Keri ac Arwystli yn y dref, a elwir heuyt or

---

[1]) byna [2]) ac nacaha [3]) bydynt [4]) gwbyl o eur [5]) ro
[6]) gyfnewit [7]) a gaussant [8]) ganheat [9]) pwy

achaws hwnnw Mochtref. Ac odyna y kerdassant racdunt; ar nos honno y doethant[1]) hyt yg kymwt ym Powys, a elwir or ystyr hwnnw heuyt Mochnant. Ac yno y buant y nos honno. Ac odyna y kerdassant hyt yg cantref Ros. Ac yno y buant y nos honno mywn y dref, a elwir ettwa Mochtref. "Ha wyr, heb y Gwydyon, ni a gyrchwn kedernit Gwyned ar (63.) anniueileit hynn; yd ys yn lluydaw yn an hol." Sef y kyrchassant: y dref uchaf o Arllechwed. Ac yno gwneuthur creu yr moch; ac or achaws hwnnw y dodet Creuwyryon ar y dref.

Ac yna gwedy gwneuthur creu yr moch, y kyrchassant at Uath uab Mathonwy hyt yg Kaer Dathyl. A phan doethant yno, yd oedit yn dygyuori y wlat. "Pa chwedleu yssyd yma?" heb y Gwydyon. "Dygyuor, heb wy, y mae Pryderi yn ych ol chwi un cantref ar hugeint." "Ryued uu hwyret, y kerdyssawch chwi. Mae yr anniueileit, yd aethawch yn eu hwysc?" heb y Math. "Y maent (87.*) gwedy gwneuthur creu udunt yn y cantref arall issot," heb y Gwydyon. Ar hynny, llyma y clywynt yr utkyrn ar dygyuor yn y wlat.

Ar hynny gwiscaw a wnaethant wynteu a cherdet, yny vydant ym Pennard yn Aruon. Ar nos honno yd ymchoeles[2]) Gwydyon uab Don a Chiluaethwy, y urawt, hyt yg Kaer Dathyl, ac yg gwely[3]) Uath uab Mathonw(y) dodi Giluaethwy a Goewin y gytgyscu[4]), a chymell y morynyon ereill allan yn amharchus; a chyscu genti oe hanuod y nos honno.

Pan welsant y dyd drannoeth, kyrchu a wnaethant y lle, yd oed Math uab Mathonwy ae lu. Pan doethant, yd oed y gwyr hynny yn mynet y gymryt kyngor, pa du yd arhoynt Pryderi a gwyr y Deheu. Ac ar y kyngor y doethant wynteu. Sef a gawssant yn eu kygor: aros yg kedernit Gwyned yn Aruon. Ac yg kymperued[5]) y dwy uaenawr yd arhoet: Maenawr Pennard a maenawr Coet Alun. A Phry(deri) ae kyrchwys yno wynt; ac yno y bu y gyfranc ac y llas lladua uawr o bop parth, ac y bu reit y wyr y Deheu enkil. Sef lle, yd enkilyassant: hyt y lle, a elwir ettwa Nant Call; a hyt (64.) yno yd ymlitywyt. Ac yna y bu yr aerua

---

[1]) yd aethant [2]) ymhwelwys [3]) *beide Mss.:* ac y gwelei
[4]) y gyscu ygyt [5]) yghymherued

diuessur y meint. (88.*) Yna y kiliassa(nt)[1] hyt y lle, a elwir Dol Pennmaen. Ac yna clymu a wnaethant a cheissaw tangneuedu[2]); a gwystlaw a wnaeth Pryderi ar y dangneued. Sef y gwystlwys: Gwrgi Gwastra ar y bedwyryd ar hugeint o veibon gwyrda. A gwedy hynny kerdet ohonunt yn eu tangneued hyt y Traeth Mawr. Ac ual y gyt ac y doethant hyt y Uelenryt, y pedyt ny ellit eu reoli o ymsaethu. Gyrru kennadeu o Pryderi y erchi gwahard y deulu ac erchi gadu yrygtaw ef a Gwydyon uab Don; kanys ef, a baryssei hynny. Att Uath uab Mathonwy y doeth y gennat. "Ie, heb y Math, yrof i a Duw, os da gan Wydyon uab Don, mi ae gadaf yn llawen; ny chymellaf ynneu ar neb vynet y ymlad dros wneuthur ohonam ninneu an gallu." "Dioer, heb y kennadeu, tec, med Pryderi, oed yr gwr, a wnaeth hynn o gam idaw, dodi y gorff yn erbyn y gorff[3]) ynteu a gadu y deulu yn segur." "Dygaf y Duw vyg kyffes, nat archaf i y wyr Gwyned ymlad drossof i, a minneu vy hun yn kael ymlad a Phryderi. Miui a dodaf vyg korff yn erbyn y eidaw yn llawen." A hynny a anuonet at Pryderi. "Ie, heb y Pryderi, nyt archaf inheu y neb gouyn vy iawn namyn my hun." Y gwyr hynny a neilltuwyt, ac a dechreuwyt gwiscaw ymdanunt, ac (89.*) ymlad a wnaethant. Ac o nerth grym ac angerd a hut a lletrith Gwydyon [a oruu,] a Phryderi a las. Ac y Maen Tyuyawc uch y Uelenryt y cladwyt. Ac yno y mae y ued.

Gwyr y Deheu a gerdassant ac argan truan gantunt parth ae gwlat; ac nyt oed ryued[4]): eu harglwyd a gollyssynt a llawer oc eu goreu-gwyr ac eu meirch ac eu harueu gan mwyaf. (65.) Gwyr Gwyned a ymchoeles dracheuyn yn llawen orawenus. "Arglwyd, heb y Gwydyon wrth Vath, ponyt oed iawn ynni ellwng[5]) eu dylyedawc y wyr y Deheu, a wystlyssant inni ar tangneued? ac ny dylywn y garcharu." "Rydhaer ynteu," heb y Math. Ar gwas hwnnw ar gwystlon, a oed gyt ac ef, a ellyngwyt yn ol gwyr y Deheu.

Ynteu Math a gyrchwys Kaer Dathyl. Giluaethwy uab Don ar teulu, a uuassynt gyt ac ef, a gyrchassant y gylchaw

---

[1]) kilyssant [2]) ymdangneuedu [3]) eidaw [4]) nyt edryued *RB.*
[5]) ollwng

Gwyned, mal y gnotayssynt, a heb gyrchu y llys. Ynteu Vath a gyrchwys y ystauell, ac a beris kyweiraw lle idaw y benelinyaw, ual y kaffei[1]) dodi y draet ym plyc croth y uorwyn. "Arglwyd, heb y Goewyn, keis uorwyn, a uo is dy draet weithon; gwreic wyf i." "Pa ystyr yw hynny?" heb ef. "Kyrch, arglwyd, a doeth am vym penn, a hynny yn dirgel[2]); ac ny bum distaw inheu; ny bu yn y llys neb, nys gwypei. Sef kyrch[3]), a doeth: dy nyeint, ueibon dy chwaer, (90.*) arglwyd, Gwydyon uab Don a Giluaethwy uab Don. A threis arnaf a orugant a chewilyd y titheu; a chyscu a wnaethpwyt genhyf, a hynny yth ystauell ac yth wely di." „Ie, heb ynteu, yr hynn, a allaf, mi ae gwnaf; mi a baraf itt gael iawn yn gyntaf[4]); ac yn ol vy iawn y byda(f) inheu. A thitheu, heb ef, mi ath gymeraf yn wreic im, ac a rodaf uedyant vyg kyuoeth yth law ditheu."

Ac yn hynny ny doethant wy yg kyuyl y llys, namyn trigyaw y gylchaw y wlat a wnaethant, yny aeth gwahard udunt ar y bwyt ae llyn. Yn gyntaf ny doethant hwy yn y gyuyl ef. Yna y doethant wy attaw ef: "Arglwyd, heb wynt, dyd da itt." "Ie, heb ynteu, ae (y) wneuthur iawn ymi, y doethawch chwi?" "Arglwyd, yth (66.) ewyllys yd ydym." "Bei vy ewyllys, ny chollwn o wyr ac arueu, a golleis. Vyg kewilid ny ellwch chwi y dalu ymi, heb agheu Pryderi. A chan doethawch chwitheu ym ewyllys ynheu, mi a dechreuaf boen arnawch." Ac yna y kymerth y hutlath ac y trewis Giluaethwy, yny uyd yn daran ewic. Ac achub y llall a wnaeth yn gyflym; kyt mynnei, dianc nys gallei. Ae daraw ar vn hutlath, yny uyd yn garw. "Kanys ywch yn rwymedigaeth, mi a wnaf ywch gerdet y gyt a(ch bot yn) gymaredic ac yn (91.*) vn anyan a(r gwyduilot), yd ywch yn eu rith. Ac yn yr am(ser, y) bo etiued udunt hwy, y uot y chwitheu. A blwydyn y hediw dowch yma attaf i."

Ym penn y[5]) ulwydyn or vn dyd, llyma y klywei odorun a dan paret yr ystauell, a chyfuarthua cwn y llys am benn y godorun. "Edrych, heb ynteu, beth yssyd allan." "Arglwyd, heb yr vn, mi ae hedrycheis: y mae yno carw ac ewic ac

---

[1]) carei  [2]) diargel  [3]) —  [4]) mi a baraf iawn yti yn gyntaf
[5]) yr *RB*.

elein gyt ac wynt." Ac ar hynny kyuodi a oruc ynteu a dyuot allan. A phan doeth, sef y gwelei: y tri llydyn. Sef tri llydyn, oedynt: carw ac ewic ac elein kryf. Sef a wnaeth ef: dyrchauel y hut[-lath]: „Yr hwnn, a uu ohonawch yn ewic yr llyned, bit uaed coet eleni[1]), ar hwnn, a vu garw yr llened, bit garnen eleni." Ac ar hynny eu taraw ar hutlath. "Y mab hagen a gymeraf i ac a baraf y ueithryn ae uedydyaw." Sef enw, a dodet arnaw: Hydwn. "Ewch chwitheu a bydwch y lleill yn uaed coet ar llall yn garnen coet; ar anyan, a uo yr moch coet, bit y chwitheu. A blwydyn y hediw bydwch yma y dan y paret ac ych etiued gyt a chwi."

Ym penn y ulwydyn, llyma y clywynt gyuarthua cwn dan paret yr ystauell (67.) a dygyuor y llys y am hynny am eu penn. Ar hynny kyuodi a oruc ynteu a mynet allan. A phan daw (92.*) allan, tri llydyn a welei. Sef kyfryw lydnot, a welei: baed coet a charnen coet a chryn-llwdyn da gyt ac wynt; a breisc oed yn yr oet, oed arnaw. "Ie, heb ef, hwn a gymeraf i attaf ac a baraf y uedydyaw." Ae daraw ar hutlath, yny uyd yn uab braswineu telediw. Sef enw, a dodet ar hwnnw: Hychtwn. "A chwitheu, yr un, a uu uaed coet ohonawch yr llyned, bit vleidast eleni[1]); ar hwnn, a uu garnen yr llyned, bit vleid eleni[1])." Ac ar hynny eu taraw ar hutlath, yny uydant bleid a bleidast. "Ac anyan yr aniueileit, yd ywch yn eu rith, bit y chwitheu. A bydwch yma vlwydyn yr dyd hediw y dan y paret hwnn."

Yr un dyd ym penn y vlwydyn, llyma y clywei dygyuor a chyuarthua cwn y dan baret yr ystauell. Ynteu a gyfuodes allan. A phan daw, llyma y gwelei bleid a bleidast a chrubothon cryf y gyt ac wynt. "Hwnn a gymeraf i, heb ef, ac a baraf y uedydyaw; ac y mae y enw yn barawt; sef yw hwnnw: Bleidwn. Y tri meib yssyd y chwi, ar tri hynn ynt:

Tri meib Giluaethwy ennwir,
Tri chenryssedat kywir:
Bleidwn, Hydwn, Hychdwn Hir."

Ac ar hynny eu taraw wynteu ell deu[2]) ar hutlath, yny uydant yn eu cnawt e hun[3]). "Ha wyr, heb ef, or gwnaethawch

---

[1]) yleni [2]) yll deu [3]) eu hun

gam ymi, digawn y buawch ym hoen, a chewilyd mawr a gawssawch, bot (93.*) plant y[1]) bop un ohonawch oe gilyd. Perwch enneint yr gwyr a golchi eu penneu ac eu kyweiryaw." A hynny a berit udunt.

A gwedy ymgyweiryaw ohonunt, attaw ef y kyrchyssant: "Ha wyr, heb ef, tangneued a gawssawch a cherennyd a geffwch; a rodwch ym gy(68.)nghor, pa uorwyn a geisswyf." "Arglwyd, heb y Gwydyon uab Don, hawd yw dy gyghori: Aranrot uerch Don, dy nith, uerch dy chwaer." Honno a gyrchwyt attaw. Y uorwyn a doeth y mywn: "A uorwyn, heb ef, a wyt uorw(y)n di?" "Ny wnn i, arglwyd, amgen nom bot." Yna y kymerth ynteu yr hutlath ae chamu. "Camma di dros honn, heb ef; ac ot wyt uorwyn, mi a(e) adnabydaf[2])." Yna y camawd hitheu dros yr hutlath[3]); ac ar y cam hwnnw adaw mab brasuelyn mawr a oruc. [Sef a wnaeth y mab: dodi diaspat uchel.] Yn ol diaspat y mab kyrchu y drws a oruc hi; ac ar hynny adaw y ryw bethan ohonei. A chyn kael o neb gwelet yr eil olwc arnaw[4]), Gwydyon ae kymerth ac a droes llen o bali yn y gylch ac ae cudyawd. Sef lle, y cudyawd: y mywn llawr kist[5]) is traet y wely. "Ie, heb y Math[6]) mab Mathonwy, mi a baraf uedydyaw hwnn," wrth y mab brasuelyn. "Sef enw, a baraf arnaw: Dylan." Bedydyaw a wnaethpwyt y mab; ac ual[7]) y bedydywyt, y mor a gyrchwys. (94.*) Ac yn y lle, y gyt ac y doeth yr mor, anyan y mor a gauas, a chystal y nouyei ar pysc goreu yn y mor. Ac o achaws hynny y gelwit ef: Dylan Eil Ton. Ny thorres tonn y danaw eiryoet; ar ergyt, y doeth y agheu ohonaw, a uyryawd[8]) Gouannon, y ewythyr. A hwnnw a uu drydyd anuat ergyt.

Val yd oed Wydyon diwarnawt yn y wely ac yn deffroi, ef a glywei diaspat yn y gist is y draet. Kyn ny bei uchel hi, kyfuch oed, ac y kigleu ef. Sef a oruc ynteu: kyuodi yn gyflym ac agori y gist. Ac ual y hegyr, ef a welei uab bychan yn rwyuaw y ureicheu o blyc y llenn ac yn y gwasgaru. Ac ef a gymerth y mab yrwng y dwy-law ac a gyrchwys y dref ac ef, lle y gwydyat bot gwreic a (69.)

---

[1]) o [2]) a ednebydaf [3]) huthlath *RB.* [4]) arnei *RB.* [5]) llawgist [6]) — [7]) y gyt ac [8]) uyrywys

bronneu genti. Ac ymobryn a wnaeth ar wreic ueithryn y mab. Y mab a uagwyt y vlwydyn honno; ac yn oet y vlwydyn hoff oed gantunt y vreisket, bei dwy-ulwyd. Ar eil vlwydyn mab mawr oed ac yn gallu e hun kyrchu y llys. Ynteu e hun Wydyon wedy y dyuot yr llys a synnywys arnaw; ar mab a ymgeneuinawd ac ef ac ae carawd yn vwy noc un dyn. Yna y magwyt y mab yn y llys, yny uu pedeir-blwyd. A hoff oed y uab wyth-(95.*)mlwyd uot yn gynureiscet[1]) ac ef.

A diwarnawt ef a gerdawd yn ol Gwydyon y orymdeith allan. Sef a wnaeth: kyrchu Kaer Aranrot ar mab gyt ac ef. Gwedy y dyuot yr llys kyuodi a oruc Aranrot yn y erbyn ae raessawu a chyfuarch gwell idaw. "Duw a rodo[2]) da itt!" heb ef. "Pa uab yssyd yth ol di?" heb hi. "Y mab hwnn mab itti yw," heb ef. "Oi a wr, pa doi arnat ti vyg kewilydyaw i! a dilyt vyg kewilyd ae gadw yn gyhyt a hynn!" "Ony byd arnat ti gewilyd uwy no meithryn ohonaf i uab kystal a hwnn, ys bychan a beth, vyd dy gewilyd." "Pwy enw dy uab di?" heb hi. "Dioer, heb ef, nyt oes arnaw un enw ettwa." "Ie, heb hi, mi a tynghaf dynghet idaw, na chaffo ef enw, yny kaffo gennyf i!" "Dygaf y Duw uyg kyffes, heb ef, direit wreic wyt; ar mab a geiff enw, kyt boet drwc gennyt ti. A thitheu, heb ef, yr hwnn, yd wyt ti ac auar[3]) arnat, am nath elwir yn uorwyn: nyth elwir bellach byth yn uorwyn!" Ac ar hynny kerdet ymeith drwy y lit a wnaeth a chyrchu Kaer Dathyl. Ac yno y bu y nos honno.

A thrannoeth kyuodi a oruc a chymryt y uab gyt ac ef, a mynet y orymdeith gan lan y weilgi rwng hynny ac Aber Menei. Ac yn y lle, y gwelas delysc a (70.) morwyal, hudaw llong[4]) a wnaeth. Ar or gwymon ar (96.*) delysc hudaw cordwal a wnaeth, a hynny llawer; ac eu brithaw a oruc, hyt na welsei neb lledyr degach noc ef. Ac ar hynny kyweiryaw hwyl ar y long a wnaeth, a dyuot y drws porth Kaer Aranrot, ef ar mab, yn y llong. Ac yna dechreu llunyaw esgidyeu ac eu gwniaw. Ac yna y harganuot or gaer. Pan wybu ynteu eu harganuot[5]) or gaer, dwyn eu heilyw e hun

---

[1]) gyuareisket [2]) ro [3]) ac ae uar *RB.* [4]) long *RB.*
[5]) y arganuot

a oruc a dodi eilyw arall arnunt, ual nat adnepit. “Pa dynyon yssyd yn y llong?” heb yr Aranrot. “Crydyon,” heb wy. “Ewch y edrych, pa ryw ledyr yssyd gantunt, a pha ryw weith a wnaant.” Yna y deuthpwyt[1]) attunt. A phan doethpwyt, yd oed ef yn brithaw cordwal, a hynny yn eureit. Yna y doeth y kennadeu a menegi idi hi hynny: “Ie, heb hitheu, dygwch uessur uyn troet, ac erchwch yr cryd wneuthur esgidyeu ym.” Ynteu a lunywys yr esgidyeu, ac nyt wrth y messur namyn yn vwy. Dyuot ar esgidyeu idi. Nachaf, yr esgidyeu yn ormod. “Ry-ormod[2]) yw y rei hynn, heb hi; ef a geiff werth y rei hynn (a) gwnaet heuyt rei, a uo llei noc wynt.” Sef a wnaeth ynteu: gwneuthur rei ereill yn llei lawer noe throet, ae hanuon idi. “Dywedwch idaw, nyt a ymi y rei[3]) hynn,” heb hi. Ef a dywetpwyt idaw hynny. “Ie, heb ynteu, ny lunyaf i esgydyeu idi, yny welwyf y throet.” A hynny a dywetpwyt idi. “Ie, heb hi, (97.*) mi a af hyt attaw ef.” Ac yna y doeth hi hyt y llong. A phan doeth, yd oed ef yn llunyaw ar mab yn gwniaw. “Ie, arglwydes, heb ef, dyd da itt!” “Duw a rodo[4]) da itt, heb hi; eres yw gennyf, na uedrut gymedroli ar wneuthur[5]) esgidyeu wrth uessur.” “Na uedreis, heb ynteu; mi ae (71.) metraf weithon.” Ac ar hynny, llyma y dryw yn seuyll ar vwrd y llong. Sef a wnaeth y mab: y vwrw ae uedru yrwng giewyn y esgeir ar asgwrn. Ssef a wnaeth hitheu: chwerthin. “Dioer, heb hi, ys llaw gyffes, y medrwys y lleu[6]) ef.” “Ie, heb ynteu, aniolwch Duw itt! neu'r gauas ef enw; a da digawn yw y enw: Lleu[7]) Llaw Gyffes yw bellach.” Ac yna difflannu y gweith yn delysc ac yn wimon; ar gweith nys canlynwys[8]) ef hwy no hynny. Ac or achaws hwnnw y gelwit ef yn drydyd eurgryd. “Dioer, heb hitheu, ny henbydy well di o uot yn drwc wrthyf i.” “Ny buum drwc i ettwa wrthyt ti,” heb ef. Ac yna yd ellygwys ef y uab yn y bryt e hun [ac y kymerth y furyf e hun]. “Ie, heb hitheu, minheu a dynghaf dynghet yr mab hwnn: na chaffo arueu byth, yny gwisgwyf[9]) i ymdanaw.” “Yrof a Duw, heb ef, handid oth direidi di; ac ef a geiff arueu.”

---

[1]) doethpwyt [2]) ry-uawr [3]) un or esgidyeu [4]) ro [5]) — [6]) llew *RB.* [7]) Llew *RB. u. WB.* [8]) ny chanlynwys [9]) gwiscof

Yna y doethant hwy parth a Dinas Dinllef. Ac yno meithryn Lleu[1]) Llaw Gyffes, yny allwys marchogaeth pob (98.*) march, ac yny oed gwbyl o bryt a thwf a meint. Ac yna adnabot a wnaeth Gwydyon arnaw y uot yn kymryt dihirwch o eisseu meirch ac arueu; ae alw attaw a wnaeth. "Ha was, heb ef, ni awn[2]), ui a thi, y neges auory; a byd lawenach, noc yd wyt." "A hynny a wnaf ynheu," heb y gwas. Ac yn ieuenctit y dyd drannoeth kyuodi a wnaethant a chymryt yr aruordir y uynyd parth a Brynn Aryen; ac yn y penn uchaf y Geuyn Clutno ymgyweiraw ar ueirch a wnaethant a dyuot parth a Chaer Aranrot. Ac yna amgenu eu pryt a wnaethant a chyrchu y porth yn rith deu was ieueinc eithyr bot[3]) yn prudach pryt Gwydyon noc un y gwas. "Y porthawr, heb ef, dos y mywn a dywet uot yma beird o Uorgannwc." (72) Y porthawr a aeth. "Graessaw Duw wrthunt! Gellwng y mywn wy," heb hi. Diruawr lewenyd a uu yn eu herbyn. Y neuad[4]) a gyweirwyt; y uwyta yd aethant[5]). Gwedy daruot bwyta ymdidan a wnaeth hi a Gwydyon am chwedleu a chyuarwydyt. Ynteu Wydyon kyuarwyd da oed. Gwedy bot yn amser ymadaw a chyuedach ystauell a gyweirwyt udunt hwy; ac y gyscu yd aethant. Hir bylgeint Gwydyon a gyvodes; ac yna y gelwis ef y hut ae allu attaw. (99.*) Erbyn pan oed y dyd yn goleuhau, yd oed geniweir[6]) ac utkyrn a lleuein yn y wlat yn gyghan. Pann yttoed[7]) y dyd yn dyuot, wynt a glywynt taraw drws yr ystauell; ac ar hynny Aranrot yn erchi agori. Kyuodi a oruc y gwas ieuanc ac agori. Hitheu a doeth y mywn a morwyn y gyt a hi. "Ha wyrda, heb hi, lle drwc, yd ym." "Ie, heb ynteu, ni a glywn utkyrn a lleuein; a beth a debygy di o hynny?" "Dioer, heb hi, ni chawn welet lliw y weilgi gan bop llong ar torr y gilyd; ac y maent yn kyrchu y tir yn gyntaf, a allont. A pha beth a wnawn ni?" heb hi. "Arglwydes, heb y Gwydyon, nyt oes in gyghor onyt kaeu y gaer arnam ae chynhal yn oreu, a allom." "Ie, heb hitheu, Duw a (da)lo ywch; a chynhellwch[8]) chwitheu; ac yma y keffwch digawn o arueu." Ac ar hynny yn ol yr arueu yd

---

[1]) Llew *RB. u. WB.* [2]) ni a awn [3]) y uot [4]) Yr yneuad
[5]) aethpwyt [6]) gyniweir [7]) yd oed [8]) chynhelwch

aeth hi. A llyma, hi yn dyuot a dwy uorwyn gyt a hi ac arueu deu wr gantunt. "Arglwydes, heb ef, gwisc ymdan y gwryanc[1]) hwnn; a minneu ui ar morynyon a wisgaf ymdanaf inheu. Mi a glywaf odorun y gwyr yn dyuot." "Hynny a wnaf yn llawen!" A gwiscaw a wnaeth hi ymdanaw ef yn llawen ac yn gwbyl. "A derw, heb ef, wiscaw ymdan y gwryanc[1]) hwnnw?" (73.) "Derw[2])," heb hi. "Neu'r derw[3]) y minheu! (100.*) heb ef. Diodwn an harueu weithon; nyt reit in wrthunt." "Och, heb hitheu, paham? Llyna y llynghes yg kylch y ty." "Ha wreic, nit oes yna un llynghes." "Och, heb hitheu, pa ryw dygyuor a uu ohonei?" "Dygyuor, heb ynteu, y dorri[4]) dy dynghetuen am dy uab ac y geissaw arueu idaw; ac neu'r gauas ef arueu heb y diolwch yti." "Yrof i a Duw, heb hitheu, gwr drwc wyt ti. Ac ef a allei y[5]) llawer mab colli y eneit am y dygyuor, a bereist ti yn y cantref hwnn hediw. A mi a tynghaf dynghet yr mab, heb hi: na chaffo gwreic vyth or genedyl, yssyd ar y dayar honn yr awr honn." "Ie, heb ynteu, direit-wreic uvost eiryoet, ac ny dylyei neb uot yn borth itt. A gwreic a geiff ef ual kynt."

Hwynteu a doethant att Vath uab Mathonwy a chwynaw yn luttaf yn y byt rac Aranrot a wnaethant, a menegi, ual y paryssei yr arueu idaw oll. "Ie, heb y Math, keisswn ninneu, ui a thi, (oc) an hut an lletrith hudaw gwreic idaw ynteu or blodeu." Ynteu yna a meint gwr yndaw ac yn delediwhaf gwas, or a welas dyn eiryoet. Ac yna y kymerassant hwy blodeu y deri a blodeu y banadyl a blodeu yr erwein; ac or rei hynny asswynaw yr un uorwyn deckaf a thelediwaf, a welas dyn eiryoet, ae bedydyaw (101.*) or bedyd, a wneynt yna, a dodi Blodeuwed[6]) arnei. Gwedy y kyscu y gyt hwy ar y wled: "Nyt hawd, heb y Gwydyon, y wr heb gyuoeth idaw ossymdeithaw[7])." "Ie, heb y Math, mi a rodaf idaw yr un cantref goreu y was ieuanc y gael." "Arglwyd, heb ef, pa gantref yw hwnnw?" "Cantref Dinodig," heb ef. (A hwnnw a elwyr yr awr honn: Eiwynyd ac Ardudwy.)[8]) Sef lle ar y cantref, (74.) y kyuanhedwys lys idaw: yn y lle, a

---

[1]) gwraync *RB.* [2]) deryw [3]) neu deryw [4]) tororri *RB. verschr.* [5]) — [6]) Blodeued [7]) -awc [8]) *Spätere Glosse?*

elwir Mur y Castell, a hynny yg gwrthdir Ardudwy. Ac yno y kyuanhedwys ef ac y gwledychwys. A phawb a uu uodlawn idaw ac y arglwydiaeth.

Ac yna dreigylgweith kyrchu a wnaeth parth a Chaer Dathyl y ymwelet a Math uab Mathonwy. Y dyd, yd aeth ef parth a Chaer Dathyl, troi o vywn y llys a wnaeth hi; a hi a glywei lef corn, ac yn ol llef y corn, llyma hyd blin yn mynet heibaw a chwn a chynnydyon yn y ol; ac yn ol y cwn ar kynnydyon bagat o wyr ar traet yn dyuot. "Ellyngwch was, heb hi, y wybot, pwy y niuer[1]) racco!" Y gwas a aeth a gouyn, pwy oedynt. "Gronw Pebyr yw hwnn, y gwr, yssyd arglwyd ar Penllynn," heb wy. Hynny a dywawt y gwas idi hitheu. Ynteu a gerdwys yn ol yr hyd ac ar auon Gynwael gordiwes yr hyd ae lad. Ac wrth ulingaw (102.*) yr hyd a llithyaw y gwn ef a uu, yny wascawd y nos arnaw. A phan yttoed y dyd yn atueilaw ar nos yn nessau, ef a doeth heb porth y llys. "Dioer, heb hi, ni a gawn yn goganu gan yr unben oe adu y pryttwn y wlat arall, onys gwahodwn." "Dioer, arglwydes, heb wy, iawnaf yw y wahawd." Yna yd aeth kennadeu yn y erbyn y wahawd. Ac yna y kymerth ef y wahawd yn llawen ac y doeth yr llys. Ac y doeth hitheu yn y erbyn ef y ressawu[2]) ac y gyuarch gwell idaw. "Arglwydes, heb ef, Duw a dalho it dy lewenyd!" Ymdiarchenu a mynet y eisted a wnaethant. Sef a wnaeth Blodeued: edrych arnaw ef. Ac yr awr, yd edrychawd[3]), nyt oed gyueir arnei hi, ny bei yn llawn oe garyat ef. Ac ynteu a synnywys arnei hitheu, ar un medwl a doeth yndaw ef, ac a doeth yndi hitheu. Ef ny allwys ymgelu oe uot (75.) yn y charu hi, ae uenegi idi a wnaeth. Hitheu a gymerth diruawr lewenyd yndi. Ac o achaws y serch ar caryat, a dodassei bop un ohonunt ar y gilyd, y bu eu hymdidan y nos honno. Ac ny bu ohir y ymgael ohonunt, nyt[4]) amgen: nor nos honno. Ar nos honno kyscu y gyt a wnaethant; a thrannoeth arouun a wnaeth ef ymeith. "Dioer, heb hi, (103.*) nyt ey y wrthyf i heno." Y nos honno y buant y gyt heuyt. Ar nos honno y bu yr ymgynghor gantunt, pa furyf[5]) y keffynt[6])

---

[1]) yr yniuer [2]) graessawu [3]) edrych [4]) — [5]) furu
[6]) kehynt

uot yg kyt. "Nyt oes gynghor, heb ef, onyt un: keissaw y gantaw gwybot, pa ffuryf[1]) y del y angheu, a hynny yn rith amgeled amdanaw." Trannoeth arouun a wnaeth. "Dioer, heb hi, ny chyghoraf it hediw uynet y wrthyf i." "Dioer, kanys kynghory ditheu, nyt af ynheu, heb ef. Mi a dywedaf hagen uot yn berigyl dyuot yr unben, bieu y llys, adref." "Ie, heb hi, auory mi ath ganhataf di y uynet ymdeith." Trannoeth arouun a wnaeth ef, ac nys lludywys[2]) hitheu ef. "Ie, heb ynteu, coffa, a dywedeis wrthyt, ac ymdidan yn lut ac ef, a hynny yn rith ysmalhawch caryat ac ef; a dilyt y gantaw, pa fford y gallei dyuot y angheu."

Ynteu[3]) a doeth adref y nos honno. Treulaw y dyd a wnaethant drwy ymdidan a cherd a chyuedach; ar nos honno y gyscu y gyt yd aethant. Ac ef a dywawt parabyl ar eil wrthi. Ac yn hynny parabyl nys kauas ef. "Pa derw ytti? heb ef, ac a wyt iach di?" "Medylyaw yd wyf, heb hi, yr hynn, nys medylyut[4]) ti amdanaf i. Sef yw hynny, heb hi: goualu am dy angheu di, ot elut yn gynt no miui." "Ie, heb ynteu, Duw a dalo itt dy amgeled. Onym (104.*) llad i Duw hagen, nyt hawd vy llad i," (76.) heb ef. "A wney ditheu, yr Duw ac yrof inheu, menegi ymi, pa furyf[1]) y galler dy lad ditheu? Kanys gwell yw uyg cof i wrth ymoglyt nor teu di." "Dywedaf yn llawen, heb ef: nyt hawd uy llad i, heb (ef), o ergyt; a reit oed uot vlwydyn yn gwneuthur y par, ym byryit[5]) i ac ef, a heb wneuthur dim ohonaw, namyn pan vydit[6]) ar yr aberth Duw Sul." "Ae diogel hynny?" heb hi. "Diogel, dioer! heb ef; ny ellir uy llad i y mywn ty, heb ef, ny ellir allan; ny ellir uy llad ar uarch, ny ellir ar uyn troet." "Ie, heb hitheu, pa delw y gellit dy lad ditheu?" "Mi ae dywedaf ytti, heb ynteu: gwneuthur enneint[7]) im ar lan auon a gwneuthur cromglwyt uch penn y gerwyn ae thoi yn da ac yn[8]) didos wedy hynny; a dwyn bwch, heb ef, ae dodi ger llaw y gerwyn; a dodi ohonaf inheu y neill troet ar geuyn y bwch ar llall ar ymyl y gerwyn. Pwy bynnac a(m) medrei i uelly, ef a wnaei uy ageu." "Ie, heb

---

[1]) furu  [2]) ny ludywys  [3]) *d. i.* Lleu Llaw Gyffes  [4]) ny medylyut  [5]) byrhit  [6]) uythit  [7]) ennein  [8]) ac yn *fehlt WB.*

hitheu, diolchaf y Duw hynny; ef a ellir rac hynny dianc yn hawd."

Nyt kynt, noc y kauas hi yr ymadrawd, y hanuones hitheu att Gronw Pebyr. Gronw a lauurywys gweith y gwaew; ar un dyd ym penn y vlwydyn y bu barawt. Ar dyd hwnnw y peris ef idi hi gwybot hynny. (105.*) "Arglwyd, (heb) hi, yd wyf yn medylyaw, pa delw y gallei uot yn wir[1]), a dywedeist di gynt wrthyf i. Ac a dangossy di ymi, pa ffuryf[2]) y sauut ti ar ymyl y gerwyn ar bwch, o pharaf inheu yr enneint?" "Dangossaf," heb ynteu. Hitheu a anuones att Ronw ac a erchis idaw uot yghyscawt[3]) y brynn, a elwir weithon Brynn Kyuergyr; yg glan auon Kynuael oed hynny. Hitheu a beris kynnullaw, a gauas o auar[4]) yn y cantref, ae dwyn yr[5]) parth draw yr auon, gyuarwyneb a Brynn Kyuergyr.

(77.) A thrannoeth hi a dywawt: "Arglwyd, heb hi, mi a bereis kyweiryaw y glwyt ar enneint, (ac) y maent yn barawt." "Ie, heb ynteu, awn y hedrych yn llawen." Wynt a doethant[6]) y edrych yr enneint. "Ti a ey yr enneint, arglwyd?" heb hi. "Af yn llawen," heb ef. Ef a aeth yr enneint ac ymeneinaw[7]) a wnaeth. "Arglwyd, heb hi, llyma yr anniueileit, a dywedeist di uot bwch arnunt." "Ie, heb ynteu, par dala un ohonunt a phar y dwyn yma." Ef a ducpwyt y bwch. Yna y kyuodes ynteu or enneint a gwiscaw y lawdyr ymdanaw a dodi[8]) y neill troet idaw ar ymyl y gerwyn ar llall ar geuyn y bwch. Ynteu Ronw a gyuotes y uynyd or bryn, a elwir Brynn Kyuergyr; ac ar ben y neill glin y kyuodes, ac ar gwenwyn-waew y uwrw ae uedru yn y ystlys, yny (106.*) neitta y paladyr ohonaw a thrigyaw y penn yndaw. Ac yna bwrw ehetuan ohonaw ynteu yn rith eryr a dodi garymleis anhegar. Ac ny chahat y welet ef o hynny allan.[9])

Yn gyngyflymet, ac yd aeth ef ymeith, y kyrchassant wynteu y llys; ar nos honno kyscu y gyt. A thrannoeth kyuodi a oruc Gronw a goresgyn[10]) Ardudwy. Gwedy

---

[1]) yn hynn [2]) furu [3]) yg kyscawt [4]) auyr [5]) or
[6]) + drannoeth *RB.* u. *WB.* [7]) ymneinaw [8]) ac y dodes [9]) odyna y maes [10]) guereskyn

goresgyn[1]) y wlat y gwledychu a wnaeth, yny oed yn y eidaw ef Ardudwy a Phenllyn.

Yna y chwedyl a aeth at Math uab Mathonwy. Trymuryt a goueileint a gymerth Math yndaw, a mwy Wydyon noc ynteu o lawer. "Arglwyd, heb y Gwydyon, ny orffowyssaf uyth, yny gaffwyf chwedleu y wrth uy nei." "Ie, heb y Math, Duw a uo nerth itt!" Ac yna kychwynnu a wnaeth ef a dechreu rodyaw racdaw; a rodyaw Gwyned a wnaeth a Phowys yn y theruyn. Gwedy daruot idaw rodyaw uelly[2]), ef a doeth hyt yn Aruon. Ac a doeth y ty uab (78.) eillt ym maenawr Bennard. Disgynnu yn y ty a wnaeth a thrigyaw yno y nos honno. Gwr y ty ae dylwyth a doeth y mywn, ac yn diwethaf y doeth y meichat. Gwr y ty a dywawt wrth y meichat: "Ha was, heb ef, a doeth dy hwch di heno y mywn?" "Doeth, heb ynteu; yr awr honn y doeth att y moch." · "Pa ryw gerdet, heb y Gwydyon, yssyd ar yr hwch honno?" "Pan a-(107.*)gorer y creu, beunyd yd a allan; ny cheir craff arnei ac ny wybydir, pa fford yd a, mwy, no chynn elei yn y dayar." "A wney di, heb y Gwydyon, yrof i, nat agorych y creu, yny vwyf i yn y neill parth yr creu y gyt a thi?" "Gwnaf yn llawen," heb ef. Y gysgu yd aethant y nos honno. A phan welas y meichat lliw y dyd, ef a deffroes Wydyon. A chyuodi a wnaeth Gwydyon a gwisgaw ymdanaw a dyuot y gyt ar meichat a seuyll wrth y creu. Y meichat a agores y creu; y gyt ac y hegyr, llyma hitheu yn bwrw neit allan a cherdet yn braff a wnaeth. A G(w)ydyon ae kanlynwys, a chymryt gwrthwyneb auon a wnaeth, a chyrchu nant a wnaeth, a elwir weithon Nant y Llew. Ac yno gwastattau a wnaeth a phori. Ynteu Wydyon a doeth y dan y prenn ac a edrychawd[3]), pa beth yd oed yr hwch yn y bori. Ac ef a welei yr hwch yn pori kic pwdyr a chynron. Sef a wnaeth ynteu: edrych ym blaen y prenn; a phan edrych, ef a welei eryr ym blaen y prenn. A phan ymysgytwei yr eryr, y syrthei y pryuet ar kic pwdyr ohonaw, ar hwch yn yssu y rei hynny. Sef a wnaeth ynteu: medylyaw, mae Lleu[4]), oed yr eryr; a chanu eglyn:

---

[1]) gwreskyn [2]) pob lle [3]) edrychwys [4]) Llew *RB.*

"Dar a dyf (108.*) yrwng deu lynn[1]);
Gordu-wrych awyr a glynn[1]):
Ony dywetaf i eu,
Oulodeu Lleu[2]) pan yw hynn."

Sef (79.) a wnaeth ynteu yr eryr: ymellwng, yny uyd[3]) yg kymherued y prenn. Sef a wnaeth ynteu Wydyon: canu eglyn arall:

"Dar a dyf yn ard-uaes,
Nys gwlych glaw, nys mwytawd,
Naw ugein angerd a borthes:
Yn y blaen Lleu[2]) Llaw Gyffes."

Ac yna ymellwng idaw ynteu, yny uyd yn y geing issaf or prenn. Canu eglyn idaw ynteu yna:

"Dar a dyf dan anwaeret,
Mirein medur ym ywet (?)
Ony dywedaf i (eu),
Ef dydaw Lleu[2]) ym harffet."

Ac y dygwydawd ynteu ar lin Gwydyon; ac yna y trewis Gwydyon a(r) hutlath ynteu, yny uyd yn y rith e hunan. Ny welsei neb ar wr tremynt truanach hagen, noc a oed arnaw ef: nyt oed dim onyt croen ac ascwrn. Yna kyrchu Kaer Dathyl a wnaeth ef; ac yno y ducpwyt, a gahat o uedic da yg Gwyned, wrthaw. Kyn kyuyl yr ulwydyn yd oed ef yn holl-iach.

"Arglwyd, heb ef wrth Uath uab Mathonwy, madws oed ymi kaffel iawn gan y gwr, y keueis ouut gantaw." "Dioer, heb y Math, ny eill ef ymgynnal ath iawn di gantaw." "Ie, heb ynteu, goreu yw gennyf i, bo kyntaf, y kaffwyf iawn." Yna dygyuoryaw (109.*) Gwyned a wnaethant a chyrchu Ardudwy. Gwydyon a gerdwys yn y blaen. A chyrchu Mur Castell a oruc. Sef a wnaeth Blodeued: clybot eu bot yn dyuot; kymryt y morynyon y gyt a hi a chyrchu y mynyd a thrwy auon Gynuael kyrchu llys, a oed ar y mynyd. Ac ny wydynt gerdet rac ovyn namyn ac eu hwyneb draekeuyn.[4])

---

[1]) lenn *u.* glen *RB. u. WB.* [2]) Llew *RB. u. WB.* [3]) oed
[4]) tra eu keuyn

Ac yna ny wybuant, yny syrthassant yn y llynn, ac y bodyssant oll eithyr hi e hunan. Ac yna y gordiwedawd[1]) Gwydyon hitheu ac y dywawt wrthi: "Ny ladaf i di; mi a wnaf, yssyd waeth itt. Sef yw hynny: dy ellwng yn rith ederyn. Ac o achaws y (80.) kewilyd, a wnaethost di y Leu[2]) Llaw Gyffes, na beidych ditheu dangos dy wyneb (y) liw y dyd vyth; a hynny rac ouyn yr holl adar; a bot [gelynyaeth yrynghot ar holl adar, a bot] yn anyan udunt dy uaedu ath amherchi y lle, yth gaffont[3]). Ac na chollych dy enw, namyn dy alw vyth Blodeuwed." Sef yw Blodeuwed: tylluan or ieith yr awr honn. Ac o achaws hynny y mae digassawc yr adar yr tylluan, ac ef a elwir ettwa y tylluan yn vlodeuwed.

Ynteu Gronw[4]) Pebyr a gyrchwys Pennllynn ac odyno ymgennattau a wnaeth. Sef kennadwri, a anuones: gouyn a wnaeth y Leu[2]) Llaw Gyffes, a vynnei (110.*) ae tir ae dayar ae eur ae aryant am y sarhaet. "Na chymeraf, y Duw y dygaf uyg kyffes! heb ef; a llyma y peth lleiaf, a gymeraf y gantaw: Mynet yr lle, yr[5]) oedwn i, ohonaw ef, pan ym byryawd ar par, a minheu y lle, yr[5]) oed ynteu; a gadel y minheu y vwrw ef a phar; a hynny yn lleihaf peth, a gymeraf y gantaw." Hynny a uenegit y Ronw Pebyr. "Ie, heb ynteu, dir yw ymi gwneuthur hynny. Vyg gwyrda kywir am teulu am brodyr maeth, a oes ohonawch chwi, a gymero yr ergit drossof i?" "Nac oes, dioer!" heb wynteu. Ac o achaws gomed ohonunt wy diodef[6]) un ergit dros eu harglwyd y gelwir wynteu yr hynny hyt hediw: trydyd aniweir deulu. "Ie, heb ef, mi ae kymeraf." Ac yna y doethant ell[7]) deu hyt ar lann auon Gynuael. Ac yna y seuis Gronw[4]) yn y lle, yd oed Lleu[2]) Llaw Gyffes, pan y byryawd ef, a Lleu[2]) yn y lle, yd oed ynteu. Ac yna y dwawt Gronw[4]) Pebyr wrth Leu[2]): "Arglwyd, heb ef, kanys o dryc-ystryw gwreic, y gwneuthum i ytti, a wneuthum, minneu a archaf yti yr Duw: llech, a welaf ar lan yr auon, gadel im dodi honno (81.) yryngof ar dyrnawt." "Dioer, heb y Lleu[2]), nyth ommedaf o hynny." "Ie, heb ef, Duw a dalo itt!" Ac yna y kymerth Gronw[4]) y llech ac y dodes (111.*) yryngtaw

---

[1]) gordiwawd [2]) Llew *RB. u. WB.* [3]) gaffant [4]) Gronwy [5]) yd [6]) + kymryt [7]) yll

ar ergit. Ac yna y byryawd Lleu[1]) ef ar par ac y gwant y llech trwydi ac ynteu drwydaw, yny dyrr y geuyn. Ac yna y llas Gronw[2]) Pebyr; ac yno y mae y llech ar lann auon Gynuael yn Ardudwy ar twll trwydi. Ac o achaws hynny ettwa y gelwir hi: Llech Gronw[2]).

Ynteu Lleu[1]) Llaw Gyffes eilweith a oresgynnwys y wlat ac ae gwledychwys yn llwydyannus. A herwyd y dyweit y kyuarwydyt, ef a uu arglwyd wedy hynny ar Wyned.

Ac uelly y teruyna y geing honn or Mabinogi.

---

1) Llew *RB. u. WB.* 2) Gronwy

I-35

# Glossar.

Alphabetische Anordnung: a; b; c, ch, chw; d, dd; e; f, ff; g, ng, ngh; h; i; l, ll; m n; o; p; r, rh; s; t, th; u; w; y. (k = c; u = v = f; ph = ff).

[] = Lesarten des WB.

## A

**a¹** (voc.) rel.-part. passim; fehlt häufig vor Formen von *bod*: *sef lliw oed* 1 20 : *y gwr a oed* 4 33; *sef ymdidan uu* 19 8 : *ymdidan a uu* 4 5 etc.; zur Hervorhebung eines Satzteiles, des subj.: *Pwyll ... a oed yn arglwyd* 1 2 etc.; des obj. *hynny a elly di* 2 24 etc.; mit folg. poss. adj. zum Ausdruck gen. Beziehung: *mab teir-blwyd, a vei vawr y dwf*, ein dreijähriger Knabe, der war groß sein Wuchs = dessen Wuchs groß war, 17 23; cp. 27 17; 33 4 ...; mit folg. prp. Wendung oder konjug. prp.: *y neb, a dylyer y kymryt y gantaw*, derjenige, von dem genommen werden sollte, 13 19; cp. 17 7 etc.; mit vorhergehender prp. + *r* : *o'r a welsei ef o helgwn* 1 19 ..., *yr a* 51 21/22 (cp. prp. *yr*); auch mit bloßer prp.: *oc a* 2 32; 20 14 ...; *wrth a* 37 12; *am a* 11 28 ... etc.; — + pron. pers. inf. 1. sg. **am** 2 6; 9 31 ...; 2. sg. *ath* 2 29; 4 30 ...; 3. sg. *ae* 3 12; 5 1, 11 ...; *as* 7 10 ...; *ass* 9 16; 2. pl. *ach* 15 26; 3. pl. *ae* 22 4; 24 30 ...; *as* 44 25, 30. cp. **y²**.

**a²** (voc.) interr.-part. direkt: 7 16; 9 24; 11 17 ...; indirekt: 5 12; 38 18. mit 3. sg. der copula s. *ae* unter *bod*. *ae ... ae* s. *ae²*.

**a³** (voc.) interj. 4 15; 12 23; 15 23 ...; *ha* 7 16; 9 6 ...; interj. fehlt, aber Lenierung: *was*! 8 12. cp. *oi*.

**a⁴** (spir.) prp. u. conj. s. *ac*.

**a⁵** (voc.) prp. s. *o*.

**a⁶** etc. s. *myned*.

**aber**, Flußmündung. cp. Eigennamenverzeichnis.

**aberth**, m. Opfer, Messe. *yr a. duw sul* die Sonntagsmesse, 62 27.

**ac, a** (spir.) mit art.: *ar*. 1. prp. mit, zusammen mit. passim. (meist *gyt ac, y gyt ac*, s. *cyd*.) — mit, vermittels: *a llinin rwymaw* 44 15; *y trewis ynteu hi a hutlath* 47 35; cp. 54 28; 55 6, 19, 23; 65 18; — nach v. mit *ym* —, s. diese. — 2. conj. und, einzelne Wörter oder Sätze verbindend. passim. — wie. nach den aequ auf *cyn-*, *cy-*, *mor* und nach *un*; 5 33; 15 21; 16 1; 17 20; 23 12 ... mit rel-part.: *kymeint ac a ercheist*, soviel wie du erbeten hast, 11 28; cp. 16 1; 25 32 ...; mit verb.-part. *yd*: *yn gystal ac y bu*, ebensogut wie er war, 25 16; cp. 33 4; 56 32; 63 33. — s. ferner: *parth, tu*. —

Mit poss. adj.: 1. sg. *am*: 2 22, 31; 9 29; 16 2; 29 14; 45 15; 51 2; 66 23. 2. sg. *ath*: 2 8; 11 25; 19 34; 41 26; 45 32; 49 21; 65 26; 3. sg. m. *ae*: 1 10;

